Hosea yn rhy bell yn nghyfrif y genedl oedd yn dewis ymdroi yn ei phechodau; yr oedd yr apostol Paul yn dàl ei linyn yn rhy dŷn i foddloni eglwys a ymlynai wrth hen ffurfiau seremoniol, heb yr Ysbryd; gwawdiwyd a melldithiwyd y BENDIGEDIG ei hun, gan grefyddwyr deddfol yr oes hono; am ba beth? onid am ei hynodrwydd yn cymhell athrawiaeth wrthwyneb i'w daliadau hwy? Cafodd Mr. H. y gair, nid heb deilyngdod, ei fod yn ddyn hynod, neu yn null cyffredin y wlad o lefaru, "yn ddyn od!" Nodwedd ag sydd bob amser yn dderchafiad neu yn ddarostyngiad i'w berchenog, yn ol fel y gwrthfawrogir ef. Yn gyffredin y mae dyn hynod, yn hynod o fawr neu yn hynod o fach yn ngolwg y werin; y mwyaf o bawb gan rai, a'r lleiaf o bawb gan ereill. Yr oedd Mr. H. yn un o hynod ddynion ei oes yn ddiau, ac i'r dyben o ffurfio barn gywir am dano, amcenir i'r portreiad gael ei dynu yn ngoleuni ei weithrediadau, ei arferion, a'i eiriau ei hun.

*Ei ymddangosiad personol.*—Yr oedd yn ddyn o faintioli cyffredin, tua phum troedfedd a naw modfedd a hanner o daldra,—yn deneu iawn,—gwisgi ac heinif yn ei ieuenctyd, a nodedig am ystwythdra ei gymmalau hyd ddiwedd ei oes,—esgyrn bychain,—llygaid gleision, yn fychain yn hytrach, ond yn graffus,—ei edrychiad yn dreiddgar a beirnadol, a phob ystumiad yn dynodi dyn myfyrgar;—pan ar ei ben ei hun, ymddangosai yn ddybryd, heb un gosgedd yn arwyddol o deimlad llawen,—yr oedd yn naturiol o duedd pruddglwyfus, yr hwn fel y darfodedigaeth, a gynnyddodd arno hyd derfyniad ei oes; ond yn gyffredin byddai swyn cyfeillgarwch yn rhyddhad iddo oddiwrth effeithiau ei bruddglwyfni.

Nid oedd dim yn ei olwg yn ffafriol i beri i ddyn hydwyllog feddwl ei fod yn un mawr, am nad oedd wedi dysgu gwneyd unrhyw ddysplead ffuantus o hono ei hun mewn dim. Dylid addef ei fod o wneuthuriad cyfartal, fod cymmeintiolaeth

*(proportionality)* yn ffurf ei gorff o'i ben i'w draed, eto, egwan, bychan a llwydaidd oedd, nes peri i lawer feddwl am ei Feistr, gan ryfeddu "mor llygredig oedd ei wedd yn anad neb, a'i bryd yn anad meibion dynion," a'r sawl a farnant y dyn wrth ei feddwl, a welent ryw beth allan o'r cyffredin ynddo, pan yr agorai ei enau, ac unwaith y dechreuai lefaru, ymlidiai ragfarn allan o fynwesau pawb.

*Gwreiddoldeb ei feddwl.*—Gwreiddioldeb ei alluoedd meddyliol oedd ddinas ei gadernid; nid oedd yn annhebyg i adnod gynnwysfawr o lyfr y Diarebion, yr hon a rydd synwyr cyflawn heb fod yn gysylltiedig ag adnod o flaen nac ar ol; safai yntau ar ei ben ei hun yn nghanol ei frodyr; yr oedd ei feddwl yn ddigon mawr i agor pob mater a deflid i'r bwrdd, a'i amgyffredion yn ddigon eang i ddwyn allan bethau newydd wedi i bawb dewi. Yr oedd ei sylwadau yn berlau a orddysgleirient lygaid y lluaws a fyddai yn bresenol, a thra y tywalltent hwy ddagrau yn hidl, yntau megis yn ddiarwybod, a dywalltai ei sylwadau athrylithgar, y rhai a luchiai dros yr holl le, gan wefru rhwng cysylltiadau yr enaid, aeut ddyfnach ddyfnach i mewn, nes y gafaelent yn y galon, ac ar ol gosod y cwbl yn fflam, eisteddai i lawr, â'i ben rhwng ei liniau; os gellir arfer cymhariaetb, sicr yw ei fod yn annhebyg i'r côryn a daflwyd ar ysgwydd y cawr,—gwyddai y ffordd i arfer golygiadau ereill, heb eu camarfer; ac nid oedd profedigaeth i neb feddwl ei fod yn gwisgo mantell rhyw un arall.

*Diysgogrwydd ei olygiadau.*—Yr oedd o benderfyniad meddwl cryf, ac ar bob mater o bwys llafuriai yn galed i ffurfio barn gywir, a'r farn hono fyddai yn ddeddf iddo ef; nid oedd, mwy nag ereill, yn anffaeledig, nac yn proffesu anffaeledigrwydd, ond goddefai y cymmeriad hwnw, os gwnai hyny y gwamal yn ddiddig, yn hytrach nag aberthu ei egwyddorion am wegi; yr oedd ei olygiadau yn rhy gedyrn i'w hysgwyd gan bob awel, ac yn rhy gysegredig i'w dibrisio. Heblaw

ei fod o benderfyniad cryf yn naturiol, yr oedd ganddo lygaid i weled drwg o bell. Dywediad cyffredin am dano oedd, "Y mae yn anhawdd ei droi." Gwir oedd y dywediad, ond paham? Am ei fod yn ddyn anhawdd ei dwyllo, ar un mater fyddai yn gysylltiedig â chrefydd; nid oedd yn un o'r rhai a goleddai farn dyner am gythraul o herwydd ei fod mewn gwisg wèn; a phan y gwelai ereill yn cael eu hudo ymaith gan rith, safai yn ddiysgog yn ymyl gwirionedd, a mynych y dywedai, "Wel, wel, *ni wn i beth ddaw o'r oes yma; mae hi yn myn'd i rywle; ond dewch chi, chi gewch wel'd cyn bo hir pwy sydd right.*"

*Ei Olygiadau yn eu perthynas â Phleidlais y Bobl.*—Mewn ymdriniaeth Eglwysig neu Gymmanfäol ar fater, ni chynnygai un amser ei olygiadau noethion, fel rheol i farnu y pwnc; ond dygai allan seiliau ei olygiadau, yn rhesymau rhy bwysig i'w troi yn ol; ni ddywedai, "Fel hyn, neu fel arall, y dylai y mater hwn gael ei benderfynu," a'r ddadl egwan hono tu cefn, "Dyma fy meddwl i;" ac nid llygadu ar wynebpryd y bobl fyddai ei ddefod ychwaith, er mwyn gwybod pa ochr oedd gryfaf; ond, os gwelai duedd at ŵyro, ar unrhyw achos o bwys, pell oddiwrtho ef fyddai gollwng gwirionedd i'r llawr, er mwyn cadw ei barch; am fod ei ddiddichellrwydd rhyngddo ag arfer cyfrwysdra. Ei lwybr o dalu sylw i farn y bobl fyddai rhoddi iddynt gyfleusdra teg, drwy gynnyg iddynt y defnyddiau priodol tuag at ffurfio drychfeddwl cywir, a'r defnyddiau hyny yn rhesymau cryfion, yn lle brysio i derfynu y mater cyn ei drin;—nid llawer a ddywedai mewn Cymdeithas heb gymhelliad mawr arno, ond caed fod yr ychydig hyny yn llawn o sylwedd. Blinid ef yn ddirfawr gan bob twyll-ddadleuaeth, (*sophistry,*) ac ni chyfrifai lawer o'r hyn a gam-enwir "hawl y bobl i farnu drostynt eu hunain," amgen i dra-arglwyddiaeth eu harweinwyr ar y werin, megis pan yr amcenir cario mater, y twyllir y bobl â'r hen ffregod,

"*Majority* sydd i benderfynu," heb ddim mewn golwg ond hudo yr anneallus i roi benthyg eu dwylaw i'r dyben o gario allan eu dybenion hwy,—a hyny cyn meddwl nemawr o ddim, yr hyn mewn gwirionedd a gynnwys yr un peth a chrefu ar y lluaws i dansgrifio â llygaid cauedig, i anffaeledigrwydd yr ychydig, neu newid Pabyddiaeth Esgobaethol am Babyddiaeth Weriniaethol. Goleuo meddyliau y bobl ar bob achos pwysig, oedd amcan Mr. H.,—credai yn ddiysgog ei bod yn dymhor nosaidd ar grefydd,—ar gyfer y nos dygodd gydag ef nid canwyll frwynen, ond lamp fawr; yr oedd hono wedi ei thrwsio yn dda, olew yn y llestr bob amser, a chadwodd hi heb ei diffodd yn nghanol pob tymhestl. Ai cyfaill ei genedl ydoedd? Atebed meibion a merched Cymru; clywir adsain o ddeng mil o galonau, oll yn tystio, "Ië, ein cyfaill ni ydoedd efe." Pa beth a wnaeth efe drosoch, attolwg? a ddaeth efe atoch â geiriau gweniaith? "Naddo, ond wedi dangos peryglon y ffordd, cododd ei lamp fawr i'n goleuo." Pa beth ond cariad at ei genedl, a barai iddo ddywedyd mor aml, "Y mae eisieu i'r bobl gael deall."

*Ei Dymher.*—O ran ei dymher naturiol, yr oedd yn tueddu at fod yn wresog, yn gyffredin yn achwyngar, ac yn agored i deimlo yn anniddig; hwyrach fod y naws anhapus hon wedi cynnyddu arno o herwydd ei afiechyd. Ni fwynhaodd iechyd perffaith am un diwrnod cyfan yn ystod llawer o flynyddoedd; hawdd y gall dyn cryf, sydd â'r hoelion heb laesu yn ei gyfansoddiad, edrych yn llon yn wyneb ei gyfaill llesg, a synu o herwydd ei wedd anfoddog, am nad yw yn feddiannol o'r profiad a grea ynddo gydymdeimlad; ond heb olwg ar wresogrwydd tymher Mr. H. yn naturiol nac yn achlysurol, yr oedd y rhan fwyaf o'r hyn a elwir yn dymher wresog, yn fwy tebyg i zel grefyddol nag i ddim nwydwyllt a digofus, canys nid yn ei achos personol yr ymddangosai yn gynhyrfus; gwelwyd ef mewn profedigaethau dirfawr,—dyoddefodd luaws

mawr o helbulon, tu hwnt i'r cyffredin; ond yr effaith o bob camdriniaethau personol arno fyddai ei yru i ymguddio yn ei ofid, ac wedi ei orchfygu gan ddigalondid, gorweddai yn ei wely, yn hytrach na dadleu ei achos ei hun, nac ymrafaelio â'i wrthwynebwr. Yn y cyfryw amgylchiad collai bob hunan-feddiant, a darostyngid ef i ofnau ac iselder ysbryd; ond pe deuai rhyw un ato â newydd drwg am rywbeth mewn cysylltiad â chrefydd, megis fod rhyddid crefyddol yn cael ei gyfyngu, hyd y nod mewn parth *pellenig* o'r byd, neu yn un o deyrnasoedd y Cyfandir, codai i fyny yn y fan, a gwelid yr hwn oedd ychydig fynydau yn ol ar lun baban, mewn mynydyn wedi ei wisgo â nerth cawr, a'r truan digalon ar ymdori o eiddigedd dros enw ei Dduw. Os creffir ar yr achos priodol i'r naill effaith ar gyfer yr achos priodol i'r effaith arall, gwelir mai mewn cysylltiad ag adfyd yr eglwys y dangosai gynhyrfiad, tra, yn wyneb aflwydd personol, syrthio a llwfrhau yn ei ysbryd y byddai. Nid i'r dyben o ddadbrofi gwresogrwydd ei dymher naturiol, y gwneir y crybwylliadau, ond i ddangos arglwyddiaeth gras Duw, hyd y nod ar y tymherau anymarhous, a welwyd yn ennynu ynddo pan yn ieuanc oddiar hunanoldeb, ond wedi hyny a santeiddiwyd i ennynu mewn eiddigedd dros achos Mab Duw.

Y mae camgymmeriad mawr iawn gyda golwg ar ddylanwad crefydd ar y tueddiadau naturiol, fel pe byddai yn difeddiannu dyn o'i alluoedd; ond nid gras yw dideimladrwydd. Os yw y dyn a fuasai unwaith yn fywiog, yn gyffrôus ac yn dreiddgar ei feddwl, wedi syrthio i ddideimladrwydd, syrthni, a llwfrdra, nid crefydd a wnaeth y cyfnewidiad hwnw! Y mae'r gwahaniaeth i'w briodoli naill ai i effaith rhyw anhwyl ar ei gorff, neu i fursendod neu rithiad crefyddol er mwyn ymddangos ei fod yr hyn nid yw; yn wahanol i hyny y dylid edrych ar Mr. Howells o dan y nodwedd hwn, am ei fod, pan yn agored i gynhyrfiad, wedi cadw hyd ddiwedd ei oes y

bywiogrwydd ysbryd hwnw ag oedd yn un o'r teithi amlycaf yn ei gymmeriad naturiol: ni fyfyriodd am fynyd erioed ar un o wersi dieflig y *Jesuit*, o herwydd hyny ni chuddiodd ei groen ag un hug, fel na bu galwad erioed i ddwyn ar gof iddo yr atgasrwydd a genedlid yn y fynwes wrth ganfod mursendod a rhith.

> "In man or woman, but far most in man,
> And most of all in man that ministers
> And serves the altar, in my soul I loath
> All affectation. 'Tis my perfect scorn."

Gan ymgadw oddiwrth bob arddangosiad rhagrithiol o hono ei hun, efe a iawn farnodd megis Phinees, ac er cythruddo ei ysbryd mewn eiddigedd dros enw yr Arglwydd yn hytrach nâ thaflu ysmig ar lygredigaeth "er mwyn budd," arwyddair ei galon oedd, "Pa beth a wnai i'th enw mawr?"

*Ei Ddiduedddrwydd.*—Yr oedd yn ffyddlawn i ddweyd y gwir, ac ni dderbyniai wyneb y beius drwy weniaith, gan ei adael yn agored i fyned rhag ei flaen i amryfusedd mwy; ymgadwai yn ddigon pell ar y tu arall. Yr oedd fel Jacob, yn ddyn croyw a dihoced, "A Jacob oedd ŵr dysyml," (*a plain man;*) fel dyn *plain*, heb ragor nag un wyneb, (yr hyn sydd lawn ddigon i'r un dyn), yr adnabyddid yntau. Dywedai y gwir wrth ei gymmydog, ac ofer dysgwyl dim arall, am nad oedd gwyneb arall ganddo; ei amcan yn ei waith yn ymddwyn yn ddiduedd, fyddai argyhoeddi o fai; cyflawnodd y rhan hyny o'i weinidogaeth yn ei holl gylchoedd,—o'r pulpud,—mewn cymdeithas,—ac yn bersonol. Pan y traddodai ei gynghor yn gyhoeddus, safai o flaen y bobl, fel Paul yn Athen, "â'i ysbryd wedi ei gynhyrfu ynddo, wrth weled y ddinas wedi ymroi i eilunod." Yna dygai sylwedd yr un athrawiaeth o fewn cylch oedd lai, gan ymosed gyda'r difrifoldeb a weddai i deyrn-genad y Nef, ar y llygredigaeth a allai fod ar y pryd yn dihoeni yr eglwys; galwai ar ei frodyr i

ddyfod gydag ef, a dywedai yn aml, "Dewch, frodyr, *dewch* yn awr, mae arna' i ofn fod y cwbl yn myned i ddinystr y dyddiau yma; os na thrugarha yr Arglwydd, fe â y byd a'r eglwys yn rhy debyg i'w gilydd i allu 'nabod y naill oddiwrth y llall." Bryd arall ocheneidiai heb lefaru gair, gan obeithio y codai rhyw un i ollwng allan y fagnel at y nôd, am y byddai nôd ganddo ef yn ddigon sicr i anelu ato; ac os na allai neb arall weled y llwynog, efe oedd y dyn i'w nodi. Mynych y dywedai mewn cyfarfodydd, "Peidiwch ag ofni gwlychu gwadnau eich traed, frodyr." Ni ellid gwrthwynebu y cynghor, pe na byddai neb yn barod i'w gyflawni, am fod fferau y cynghorwr bob amser yn wlybion, ac ar bob achos o bwys yn barod i fyned hyd ei wddf mewn ymddiffyniad i bob gwirionedd. Yr oedd didueddrwydd yn beth naturiol ynddo, yr hyn, drwy ras, a ddefnyddiwyd ganddo i wasanaethu dybenion crefyddol, fel y gorfodid ef i fod yn gywir gan swn dibaid y gorchymyn ar ei ol, "Mynega i'm pobl eu camwedd, a'u pechodau i dŷ Jacob."

Ond heblaw ei ddull argyhoeddiadol yn gyhoeddus, a'i ymdriniaethau anmhleidiol mewn cymdeithas, yr oedd yn un o'r rhai mwyaf didderbyn-wyneb mewn ymddyddan personol; er na ddarparai ddammeg drefnus y prophwyd, yr oedd yn ddigon sicr o nôd y prophwyd, fel y gwyddai y ffordd i ddweyd, "Ti yw'r gŵr." Yn yr ystyr hyn yr oedd yn rheiniwr (*lancer*) rhagorol dda, a gosodai y fflaim ar y fan, yr hyn sydd o fawr werth weithiau pan y gwelir casgliad o ddrwg hyd y nod ar y corff, a'r un modd i dynu i lawr ymchwydd yn yr ysbryd. Yr oedd yn cyd-deithio unwaith gyda phregethwr ieuanc, a ofnid ei fod yn rhy hunan-dybus; daethant i ymyl palas mawr gwr boneddig, yr hwn, o herwydd ei faint a'i wychder, a dynodd sylw y gŵr ieuanc, ac ebe fe, "A welwch chwi, Mr. H., dyna *fansion* braf; O, fel y carwn i fyw mewn tŷ o'r fath; mi deimlwn yn hapus dros ben."

"Ah," ebe Mr. H., gan edrych yn ei wyneb yn lled anfoddog, "y mae gormod o hyna ynoch *chi;* mae mwy o eisieu i *chi* gael gostyngeiddrwydd i'ch tynu i lawr, nâ thŷ *Baronet* i'ch codi'n uwch i'r gwynt." Ond mawrygu y tŷ yr oedd y gŵr ieuanc, a'i lygaid yn syllu arno, yn nghyd a'i amgylchoedd, nes i Mr. H. o'r diwedd ymaflyd yn ei fraich â'i law, a chan wasgu tipyn arni, dywedai, "A dâl dweyd wrtho *chi,* John bach, mae'n rhaid i *chi* ddysgu bod yn ddyn gostyngedig." Yna tarawodd ei law ar ei ben, pryd y dechreuodd y ceffylau oedd o danynt gyffroi, ond cadwodd Mr. H. ei law yno, gan ddweyd, "I lawr â *chi,* John; I lawr â *chi,* John; I lawr â *chi,* John," nes taro copa ei het i mewn fel nad oedd yn annhebyg iawn, o ran ffurf, i'r "*Alpacca hat.*" Yr oedd hon yn oruchwyliaeth arw, ac yn arwach nag y bwriadwyd, ond fel y darfu i'r ceffylau gyffroi; eto, ar y cwbl, yr oedd y cerydd ryw beth yn debyg i'r hyn ellid ei ddysgwyl oddiwrth y ceryddwr, —ofer oedd i'r brawd gwyno ychwaith, am nad oedd dim ganddo i'w ddysgwyl ond ail-fynegiad o'r cynghor, "I lawr â *chi,* John." Pa beth bynag fu yr effaith ar ol llaw, sicr yw, na ddarfu i John ddatgan dymuniad am fod yn ŵr boneddig byth mwyach yn mhresenoldeb Mr. Howells.

*Ei Onestrwydd.*—Dangoswyd eisoes ei fod yn ddyn o egwyddor onest, yn ei waith yn ymgadw rhag ymgyndynu yn erbyn gwynt gwrthwynebus rhagluniaeth; ond nid yn unig pan yr oedd y byd yn gwgu arno y gwaredwyd ef rhag ymlithro i lwybrau yr hocedwr, eithr pan ddaeth cyfleusdra iddo ddangos ei egwyddor o dan wên y byd, dangosodd nad oedd o dan y nôd hwnw a berthyn i'r "hwn a garo arian." Ni ddigonir hwnw, faint bynag a ddylifo i'w gist; "Moes, moes," fydd ei gri yn barhaus. Cafodd Mr. H. y gair ei fod yn ariangar; nid oedd hyny yn rhyfeddod yn y byd, wrth ystyried ei fod mor hael yn ei ddarluniadau o gybyddion. Er ys tua phymtheg mlynedd yn ol, ac uchod, anaml y preg-

ethai heb ddwyn y cybydd o dan sylw, yr hyn a barai i hwnw ddatgan ei anfoddlonrwydd. O bawb creaduriaid rhesymol, cybyddion a garai leiaf, ac ofnai eu bod yn gyffredin wedi diddarbodi;—gofidiai yn fawr unwaith, wedi pregethu ar y pechod o gybydd-dod mewn man, am y tybiai fod Mr.—— yn methu ei ddeall, a dywedai wrth un brawd, "Yr *own* i yn gobeithio y byddai y cynghor yn fendith iddo, ond gwyddwn wrth ei wedd nad oedd e'n deall dim." Fe allai mai y byd esmwythaf i hwnw oedd cymmeryd arno ei fod heb sylwi. Cafodd y gair hefyd ei fod yn garwr arian, o herwydd ei ymgais i osod cydnabyddiaeth y weinidogaeth ar dir mwy anrhydeddus; credai, os oedd y pregethwr yn weithiwr, gyda golwg ar ei swydd, ei fod felly gyda golwg ar ei gyflog, ac mai "*teilwng* i'r gweithiwr ei gyflog;" a chan mai teilyngdod gweithiwr ydoedd, ni welai un rheswm i'r hyn oedd yn gyflog ddyledus gael dwyn ymddangosiad o elusengarwch, a'r Beibl mor bendant ar y mater; dyoddefodd oddiwrth sarugrwydd rhai o herwydd ei gyffröadau, ond medrai brofi drwy amgylchiadau, y rhai bob amser sydd yn dangos yr egwyddor oreu, nad oedd yn baeddiannol o'r cymmeriad o fod yn ariangar. Cawn ddwyn i mewn un amgylchiad nodedig fel prawf; ar dro, pan yr oedd yn glaf iawn, tua'r flwyddyn 1837, a'r newydd wedi eerdded yn mhell mewn ychydig amser, syrthiodd cydymdeimlad cyffredinol ag ef dros amryw o'r eglwysi mewn gwahanol siroedd, fel, er na ddanfonodd at neb i geisio rhodd, eto, wele ambell i Epaphroditus yn dechreu troi i'w weled, ag anrhegion iddo naill ai dros eglwysi neu bersonau neillduol, ac yn wahanol i'r hyn ydoedd ar Paul pan aeth ymaith o Macedonia, heb un eglwys wedi rhoddi iddo, ond eglwys Philippi, disgynodd yr ysbryd cariad a orphwysai ar y Philippiaid ar luaws o eglwysi yn y siroedd hyn, ar yr un tymhor ac heb wybod dim am fwriadau eu gilydd, a dechreuai y *Post-man* dynu allan o'i gŵd ychwaneg o lythyrau nag

arfer pan y deuai at ddrws tŷ Mr. H., heblaw ei fod yn galw yn amlach; *money letters* oedd ganddo yn mron bob un, ac felly y parhaodd am amryw ddyddiau, nes yn ysbryd yr apostol y dywedai Mr. H., "Y mae genyf bob peth, ac y mae genyf helaethrwydd." Yn mhen pythefnos o'r derbyniad cyntaf, dechreuodd anesmwytho, nid o eisieu cael ychwaneg, ond gan feddwl ei fod wedi derbyn gormod, a danfonodd am Mr. Samuel Jones, (un o Flaenoriaid y Casnewydd,) i ddyfod i'w dŷ i gael ymgynghori ag ef yn ei dywydd, canys teimlai y byd yn y wêdd hon fel yn y llall yn faich mawr arno; daeth Mr. Jones i mewn, yna dechreuodd adrodd ei gŵyn, "Yr wyf mewn tipyn o drafferth," ebe fe. "Beth sy," ebe yntau. "O," atebai Mr. H., "yr arian, yr arian, sydd yn *powro* i mewn yn ddibaid oddiar yr wythnos ddiweddaf." "Da iawn, Mr. H.," ebe Mr. J., "y mae hyn yn dangos fod eich cyfeillion yn meddwl am danoch, onid yw?" "*Ody, ody*," atebai Mr. H., "ond mae nhw wedi anfon llawer mwy nag sy arna' i ei eisieu; yr wy'n credu mai eu hanfon yn ol sydd oreu; os caf fi ymborth a dillad, mi ymfoddlonaf ar hyny; dyma'i gynghor e, *onite*, yn awr?" "Ië, mae'n ddigon gwir," ebe Mr. J., "ond gan fod y bobl wedi danfon yr arian i chwi, a hyny oddiar barch a cydymdeimlad, dylech eu defnyddio oddiar barch iddynt hwythau." Erbyn hyny yr oedd yn yr un teimlad â Goldsmith, pan ddywedai,

"Man wants but little here below,
Nor wants that little long."

Cododd ar ei draed, gan ddweyd, "Ië, frawd, '*dych chi* ddim yn deall, beth a *wna* i â chymmaint? Y mae yma yn mron triugain punt." "Goreu pa fwyaf," oedd yr atebiad; "mi wn i beth i wneyd â nhŵ, eu cymmeryd a'u gosod ar y *Capel*." Boddlonodd Mr. H. o'r diwedd, "Ond cofiwch," ebe fe, "na dderbynia i *geiniog* o *interest* am yr arian yna," ac felly y bu. Yn mhen amser, prynwyd tŷ iddo â'r arian hyny, yn Gelli-

groes; ond gofidiai yn fawr o herwydd dadwrdd rhai, a ddywedent ei fod yn myned yn gyfoethog ar gefn pregethu. Peth lled anhygoel yw, fod perygl i Weinidog yr Efengyl gael ei erlid, os tybir ei fod yn mwynhau cysuron fel pobl ereill; a'r hyn sydd yn ei wneyd yn fwy hynod yw, mai nid cablwyr cyhoeddus a'i ysgornia, ond y rhai a *broffesant* gariad at y gwirionedd.

*Ei Gyfeillgarwch.*—Yr oedd ei gymdeithas bob amser yn gymmeradwy, a hyny o herwydd ei fod o duedd cyfeillgar ei hun. Wrth ystyried ei fod mor agored i suddo yn ei ysbrydoedd, ac mor bruddaidd pan ar ei ben ei hun, yr oedd yn syn fod defnyddiau ynddo at ddenu dynion ato; ond fe allai y dylid priodoli y cyfnewidiad buan a gymmerai le yn ei agwedd, i'r dylanwad a gaffai cyfeillach siriol arno ef, yr hyn oedd er iechyd yn ddiau iddo, heblaw y cysur a gyfranogid gan ereill oddiwrth ei sirioldeb, a'i ymddyddanion adeiladol.

Testunau ei ymddyddanion fyddent o natur grefyddol, a phob peth arall a dröai at yr un dyben;—ni ddywedai fawr am dano ei hun, a byddai yr ychydig a ddywedai yn rhydd oddiwrth sawyr hunanoldeb, a byddai yn rhaid i rywbeth arwain yn naturiol iawn, cyn y crybwyllai am ei bregethau na dim cyffelyb, ac felly yr oedd ei ostyngeiddrwydd yn peri iddo guddio ei hunan o'r golwg. Gellid dysgwyl addysgiadau buddiol oddiwrtho, am ei fod yn treulio cymmaint o amser mewn myfyrdodau, y rhai, fel cronfa fawr, a dywalltai allan pan ddelai y cyfleusdra, a gellid edrych arno yn debyg i bellebyr, (*telegraph,*) pan y deuai i dŷ, am ei fod â rhywbeth newydd na chlywwyd o'r blaen, neu sylwadau a brofai ei fod wedi syllu drwy ryw yspiadyron mawrion; defnyddiai bob drych,—syllai drwy y prophwydoliaethau,—gweithiau duwinyddion,—newyddiaduron, a phob cyhoeddiad a fyddai yn unol â'i chwaeth, a'r hyn oedd fuddiol a ddygai allan er adeiladaeth i ereill.

Medrai wneyd ei hunan yn gydymmaith cyfaddas i oed, a sefyllfa, a galluoedd y rhai yr ymddyddanai â hwy; cydymdeimlai â hen bobl, a gwnelai ei hun yn blentynaidd gyda phlant; arferai fod yn ddifyrus iawn yn ei ymddyddanion â'i blant ei hun, y rhai yn fynych a alwai ato, gan gymmeryd achlysur oddiwrth bob peth a welent i gyfeirio eu llygaid bychain tua Bethlehem a Chalfaria; argraffai ar eu meddyliau tyner ryw ystyriaeth am y bôd o Dduw, oddiwrth bob peth a allai ei ddangos iddynt; fel enghraifft, eisteddai o flaen y tân, a'r plant o dair blwydd oed i fyny o'i gwmpas, yna dywedai wrthynt, "Yn awr, fy mhlant i, ni fynwn bregeth; y tân yw'r pregethwr, y *grate* yw'r pulpud, yr aelwyd yw'r capel, a nyni yw y gwrandawwyr." Yna edrychent oll ar y pregethwr tanllyd, gan dynu o'i luniau amryliw destunau i'w myfyrdodau. Pethau cyffelyb i hyn a barai i'r rhai bychain ei anwylo yn fawr, a cheisient ei efelychu yn mhob peth, hyd y nod pan ar ei liniau, yn cyflawni y ddyledswydd deuluaidd;—byddai yn arferol o droi i eirio yn Saesoneg pan oedd y plant yn fychain, a dywedai, "O Lord, bless our little children;" a'r bachgen bach tair oed a ddywedai ar ei ol, "O Lord, bless our little children." Dengys hyn fod ynddo ddefnyddiau i sugno serchiadau pob gradd i'w garu. Yr oedd yn amlwg fod llawer yn dangos cyfeillgarwch tuag ato yntau, er nad oeddynt yn mhob peth o'r un golygiadau, fel y dywedai Syr James Macintosh am y Parch. Robert Hall, er nad oeddynt ar y pryd o'r un egwyddorion, "I became attached to Mr. Hall," ebe fe, "because I could not help it."

Yr oedd un nodwedd arall yn ei gymmeriad, a ddengys wirionedd yr hên ddywediad, "Nid oes un dyn perffaith." Yr oedd ynddo yntau ddiffygion, a hyny mewn pethau y byddai dynion llai nag ef yn rhagori arno yn mhell, sef diofalwch yn ei arferion; ni fyddai yn hawdd cael ganddo i gychwyn i'w gyhoeddiad, ac felly nid oedd yn un o'r rhai

mwyaf tebyg o gyrhaedd pen y daith yn brydlawn; er fod yn well gan y bobl ei dderbyn yn ddiweddar â phregeth dda, nâ phe deuai atynt awr o flaen y pryd heb yr un. Nid oedd yr arferiad hwn yn ganmoladwy ynddo, ond yr oedd yn un naturiol iawn iddo ef; fel pe buasai tuedd greddfol ynddo i lynu wrth y fan a'r bobl lle y byddai, pa un ai cartref ai oddicartref, oblegid yr un fath y byddai gyda golwg ar ddychwelyd, yn hwyr y cychwynai o bob man, os na byddai ganddo ryw ymrwymiad penodol; ond er ei fod yn dueddol i fod yn ddiweddar, yr oedd mor debyg â neb i ddyfod at ei gyhoeddiadau, heb fod yn agored i'r camgymmeriad y syrthiai un o dduwinyddion penaf yr oes a aeth heibio iddo, drwy fyned i'w gyhoeddiad nos Fercher yn lle nos Iau, neu anghofio ei ymrwymiad ar nos Iau hyd nos Wener, yr hyn a ddygwyddai yn aml.

## LLYTHYRAU AT EI BLANT.

Derbyniais y llythyrau canlynol oddiwrth ei ferched, i'r dyben o'u gosod yn y Cofiant; y rhai, er nad ydynt ond byr, a ddangosant deimlad tad tyner, yn ei ofal am gysur a ffyniant ei blant, ac yn benaf oll ei bryder yn achos eu heneidiau, pan yn datgan dymuniad ei galon ar iddynt ymddwyn yn addas i efengyl Crist, byw i'r Arglwydd, a'i wasanaethu ef.

Gan mai yn Saesneg yr arferai Mr. H. ysgrifenu, buasai yn well, ar y cyfrif hwnw, i'r llythyrau ymddangos fel y daethant o dan ei law; ond rhag y bydd hyny yn anfoddhaol gan rai o'r darllenwyr, ni chaiff ond y cyntaf yn unig ymddangos yn ei ffurf gwreiddiol.

*Pyle, October* 7, 1851.

My Dear Daughter,

I am now at Pyle, on my way to Carmarthen. I promised I would send you a letter, to let you know the state of my health,—I am better, and they are as usual at home. Eliza desires her love to you; may the Lord enable you to live in the family, and church, and world, and every where, as becometh the gospel of our Lord Jesus

Christ. In your dress, in your conversation, in your work, and in every thing, do all to the glory of God, for the sake of your father, who is greatly concerned for you, but especially for the sake of your Saviour, the Lord Jesus Christ. Endeavour through the grace of Christ to live a godly life; be strong in the grace that is in Christ Jesus—may you receive daily, out of his fulness, for it has pleased the Father that in him should all fulness dwell. He is full of grace and truth—there are unsearchable riches in him—"He is made of God unto us wisdom, righteousness, sanctification, and redemption." Believe in him, trust in him, build on him, dig deep till you find the rock, then your building will stand when the storm of death comes. I hope to see you when I pass through Cardiff on Saturday, the 25th of this month, on my way to St. Mellons, where I intend spending the following Sabbath. Give the enclosed note to Mr. Thomas Morgan. With my love to you, and my regards to the friends at Cardiff,

I remain, my dear daughter,

Your affectionate father,

MORGAN HOWELLS.

FY ANWYL FERCH, *Tredegar, Tach.* 11, 1851.

Yr wyf yn anfon atoch yr ychydig linellau hyn, fy hoff blentyn, mewn gobaith eich bod yn mwynhau iechyd a chysur; da genyf allu dweyd ein bod ni yma yn well nag y buom; cefais fy nghystuddio i raddau mawr drwy yr haf diweddaf, yr hyn a'm rhwystrodd i ddyfod i'ch gweled, yn ol fy addewid; ond yr wyf yn teimlo gradd o adferiad, ac yn gobeithio y gallaf ddyfod i'ch gweled yn mhen ychydig fisoedd.* Yr ydym oll yn cyduno i anfon ein cofion serchocaf atoch, ac yn dymuno eich gweled yn fawr. Fy anwyl Catharine, fy ngobaith yw eich bod yn ufudd i'r sawl sydd yn ymdrechu i'ch cyfarwyddo; ac uwchlaw pob peth, eich bod yn cofio eich Creawdwr yn nyddiau eich ieuenctyd. Fy ngweddi ddyddiol yw, ar i chwi gael eich nerthu i geisio teyrnas nefoedd yn mlaenaf, a gellwch benderfynu y rhoddir i chwi bob peth arall yn ychwaneg; a dymunaf arnoch i fod yn garedig, ac i ymddwyn yn barchus tuag at eich cydysgolheigion, a chofiwch fod yn ostyngedig i'ch athrawes.

Hyn, yn fyr, oddiwrth eich serchiadol dad,

MORGAN HOWELLS.

* Sef i Lundain, lle yr oedd y ferch hon yn yr ysgol ar y pryd.

*Tredegar, Rhagfyr* 12, 1851.

FY ANWYL SARAH,

Addewais anfon ychydig linellau atoch, i chwi gael gwybod helynt fy iechyd; yr wyf fi, ac yr ydym oll, trwy drugaredd yr Arglwydd, yn weddol iach. Nid oes genyf ddim neillduol i'w ddweyd wrthych, gan fy mod yn gobeithio cael eich gweled cyn hir. Yr wyf yn hyderu y bydd i'r Arglwydd eich cyfarwyddo yn mhob peth i ymddwyn fel y mae yn gweddu i efengyl Crist. Fe a'n gorchymynir yn y gwirionedd, pa un bynag ai bwyta ai yfed, ai beth bynag a wnelom, i wneyd pob peth er gogoniant i Dduw. Rhoddwch y tufewnol i Mr. Morgan. Os byw a iach, caf eich gweled yn Nghaerdydd dydd Nadolig. Cofiwch fi at Mr. John Evans a'i wraig.

Ydwyf, anwyl ferch,
Eich serchiadol dad,
MORGAN HOWELLS.

Cyflwynaf y llinellau canlynol, heb un petrusder na fydd i'r darllenwyr ymuno â mi mewn cydnabyddiaeth i'r Awdwr parchedig am anrheg mor werthfawr:—

ERCHYLL frath archollai fron—Sïon wael,
Hi sy'n welw'r awrhon;
Fe wânai saeth fynwes hon,
Ocha o waelod ei chalon!

Gwae ni! Ha! Morgan Howel,—a fu ddyn
Feddiannodd ddawn uchel,
Ro'ed i'r tywod, wr tawel,
Ei enau sydd o dan sêl.

Gwr oedd o feddwl gwreiddiol,—â doniau
Danient yn rhyfeddol;
Athraw o ddull dyeithrol,
Un o'i ryw ni cheir o'i ol.

Dyn a'i enw'n dwyn eneiniad—y Nef,
Nofio wnai mewn teimlad;
Uchel oedd y'mharch ei wlad,
A mawr-iawn ei gymeriad.

E ro'i fywyd mewn tyrfaoedd,—dyn Duw,
A dynai dân o'r nefoedd,
Ei wedd a'i lais treiddiol oedd,
Yn eu lle, crynai lluoedd.

Gyda'i lef pan godai 'i law—deneu fach,
Dyna fyrdd yn ddystaw:
Dagrau geir yn llifeiriaw,
Rhedai lif fel ffrwd o wlaw.
Iachawdwriaeth pechaduriaid,—yr Iawn
A'i rinwedd bendigaid,
Oedd ei destun, bu'n ddi baid
Yn berwi yn ei bur enaid.
Wedi ei fyn'd, mae adwy fawr,—oes, oes,
Mae dwys eisiau'n blaenawr,
Wylwyd ar ol ei elawr,
A wylo wna mil yn awr.
Wylo wna'n Cymanfaoedd,—o'i herwydd,
Gan hiraeth eu lluoedd,
Sy yn flin am swn y floedd,
Adfywiai 'n cyn'lleidfaoedd.

Ebrwydd aeth at ei wobrwy,
Ar y maes, nis ceir e mwy,
Wedi hau mewn dagrau daeth
Awr i fedi 'r orfodaeth:
A llon ger bron ei Brynydd,
A holliach bellach y bydd:
Y lle nad oes boen na llid,
Na chwyn dan fynych wendid:
Dirgelwch—harddwch—hurddas,
Angeu'r grog, a chyngor gras,—
Arfaeth Ior—a'r drefn fore,
Wêl yn awr y'ngoleu ne'.
Ar ei ol ofer wylo,
Yn nef wen, canu wna fo.

G. Hiraethog.

# PENNOD VII.

## CYMMERIAD GWEINIDOGAETHOL MR. HOWELLS.

**Dosparth I, Agoriad y Cyfarfod—Dosparth II, Ei Ddullwedd—Dosparth III, Ei Faterion—Dosparth IV, Ei Gynllun—Dosparth V, Dylanwad ei Weinidogaeth—Dosparth VI, Dirgelwch ei ddylanwad mawr—Dosparth VII, Hynodrwydd ei Weinidogaeth—Dosparth VIII, Cydweddiad ei Weinidogaeth ag urddas y Pulpud—Englynion Eben Fardd.**

---

"The Pulpit, therefore (and I name it fill'd
With solemn awe, that bids me well beware
With what intent I touch that holy thing)—
The pulpit (when the Satirist has at last,
Strutting and vapouring in an empty school,
Spent all his force, and made no proselyte)
I say the pulpit (in the sober use
Of its legitimate, peculiar powers.)—
Must stand acknowledged, while the world shall stand,
The most important and effectual guard,
Support, and ornament of virtue's cause."—COWPER.

---

GAN mai amcan y bennod hon yw rhoddi darluniad o Mr. H. fel pregethwr, gwnaf fy ngoreu i gyfyngu fy sylwadau at y nodweddau cysylltiol â'i gymmeriad cyhoeddus fel y cyfryw; ond gan y dysgwylir clywed ei hanes yn mhob cylch cyhoeddus, heb fod yn gyfyngedig yn unig i'r areithfa, y cwbl sydd i'w ddweyd ar hyny yw, fod ei annhueddrwydd i sefyll i fyny ar unrhyw achlysur cyhoeddus, oddieithr i bregethu yn unig, y fath, fel na chyfrifid ef yn "*blatform man;*" ond er nad oedd yn un o wyr yr esgynlawr, eto, pan y dygwyddai fod mewn cyfarfod cyhoeddus ar unrhyw achos crefyddol, parai i bawb ddeall fod *dyn* ar yr esgynlawr, a'i fod yn debyg i'r dyn a safai ar achlysur arall yn y pulpud. Cawn yn awr edrych ar Mr. H. yn ei gysylltiad â'r areithfa, o dan wahanol ddosparthiadau:—

DOSP. I. *Agoriad y Cyfarfod.*—Y mae yn ddiammau nad oes un corff o bregethwyr mor ddarostyngedig i anfanteision

ag eiddo y Methodistiaid Calfinaidd Cymreig; pan y deuant i dref neu bentref ar gyhoeddiad, bydd yn rhaid iddynt hwylio eu ffordd trwy bob tywydd, oerfel, gwres, eira neu wlaw, heb gymmaint â deng mynyd yn ddigon aml i orphwys, cyn sefyll o flaen y bobl; ac os na fydd y pregethwr yn un gweddol gymhenwych, neu o ymddangosiad boneddigaidd, bydd yn ddigon annillynaidd i ymddangos o flaen cynnulleidfa.

Ar ddyfodiad Mr. H. i le, ar gyhoeddiad, byddai nifer o bobl yn ei aros o amgylch y Capel; ar ol i ddeng mynyd o'r amser dreulio, byddai dysgwyliad awyddus am dano, a phob mynyd yn ymddangos cyhyd â phump; tra ar eu dysgwyliad, dywedai un o'r bobl, "Ust! y mae yn dod." Pa fodd y gwyddoch?" gofynai un arall; atebai y cyntaf, "Mi glywaf drwst traed y ceffyl," a chyda'r gair byddai yn y golwg, ac achubai pawb y blaen i gael ysgwyd llaw ag ef; edrychai yn drist, gan farchogaeth yn rhwydd, a phwyso ar wàr y ceffyl, a'i draed tuag yn ol, ac yntau mor ddibris o'i aelodau â phe y perthynent i ryw un arall; y mae yn debyg ei fod yn ymddiried i'r gred oedd ganddo am Weinidogaeth Engyl, fel y dywedai yn aml, "Y mae ein gwaredigaethau yn ddyledus i weinidogaeth angylion." * Hwyrach fod Gabriel, neu un o'i frodyr, yn dal gafael yn yr awenau. Ar ol iddo ddyfod at y Capel, arferai ysgwyd llaw â'r cyfeillion cyn y disgynai, ar ol disgyn arweinid ef i dŷ y Capel, os byddai un i gael, yfai ychydig o ddŵr, a gofynai, "A oes yma ryw frawd a â i ddechreu tipyn, yr wy'n llesg iawn?" Anfynych iawn y dechreuai Mr. H. yr oedfa, mwy nâ'r Parch. D. Rowlands, o Lan-

* Barnai Mr. H. nad oedd yr Angylion yn gofalu am neb oddieithr ar lwybrau cyfreithlawn. Yr oedd unwaith yn myned o Gapel Ystradgynlais, a chymhellwyd ef gan y Lefiad i ddyfod i'w dŷ ar hyd *Fank y Canal*, am fod y ffordd yn nes nag ar hyd y ffordd fawr; "Na" ebe Mr. H., "*ddowi* i ddim y ffordd yna. "Yna dygodd allan yr ysgrythyr, "Efe a orchymyn i'w angylion am danat ti, dy gadw yn dy holl ffyrdd;" yna ebe fe, ".Yn y ffyrdd y mae'r angylion yn cadw, 'dyw'r addewid ddim yn myn'd at *Fank y Canal*."

geitho, ac o ddyddiau Rowlands hyd ddyddiau Howells, ac hyd y dydd hwn, y mae'r arferiad yn beth cyffredin, a mwy felly yn mysg y Methodistiaid nag un blaid arall; a thra y pery teithio caled dair gwaith y Sabboth, gellir ystyried yr arferiad yn fwy o synwyr nâ bai, yn enwedig mewn dyn gwan; canys unwaith y gorchfygir ef, ac yr â yn rhy ddifedr i gyfranu at anghenrheidiau ysbrydol y byd a'r Eglwys, "lle y syrthio y pren, yno yr erys efe," a ellir ei gymhwyso ato yntau, am y bydd y mwyaf diddefnydd o bawb, a bydd yn beth o fawr bwys iddo yn y cyfryw amgylchiad i allu byw trwy ffydd ar addewidion dianwadal, gan ddysgwyl am y gobaith gwynfydedig ac ymddangosiad gogoniant y Duw mawr, a'n Hiachawdwr Iesu Grist.

O ran hynafiaeth yr arferiad, yr oedd yn ddefod gyffredin yn yr Eglwysi cyntefig, i'r Diacon, pan fyddai y Gweinidog yn glaf, i ddarllen i'r bobl fyrdraith *(homily)* un o'r tadau;— Gweinidog claf ydoedd Mr. H. yn lled fynych, a da oedd ganddo gael rhyw Ddafydd o Bwllymarch, hynod am weddi fér i'r pwrpas, i dori y cwmwl tew, tra yr erfyniai yntau yn ddystaw am wyneb yr Arglwydd ar ei waith.

Dosp. II. *Ei Ddullwedd.*—Ar ol y weddi, byddai llygaid y gynnulleidfa yn syllu ar y Pulpud mor awyddus â phe dysgwylid awyren (*balloon*) i godi; safai yntau ar ei draed, edrychai ar lawr y Pulpud, gan osod â'i droed yr ystyllen, ar yr hon y safai, yn ei lle, tra y canfyddid y gwrandawwyr mewn gwahanol fanau ar hyd y Capel yn gwenu yn ddiniwed, y naill ar y llall, yr hyn a ddarfyddai mewn hanner mynyd neu lai, i gael clywed y gair cyntaf, teimlai yntau y llyfr hymnau; ond heb ganlyn y ddefod nac agor dim ond y Bibl, rhoddai bennill cyffredin allan, megis:—

"O estyn eto i barhau
Dy drugareddau tirion."

Ar ol canu, codai ei destun, heb ddim defosiynol, ond gorfodid pob meddwl i gredu fod ganddo genadwri o bwys dros Dduw i'w thraddodi; er cymmaint o ystwr a gedwir mewn cyfarfodydd yn aml, ond odid na fyddai y cwbl yn ddystaw ar y pryd hwnw, yna dywedai mewn llais yn hytrach yn isel, ond yn dreiddgar, "Y mae'r geiriau sydd ar fy meddwl i i'w darllen yn . . . . . . ." Ar ol darllen y testun drosodd ddwy waith, ni allai neb ddychymmygu beth fyddai y sylwadau arweiniol, ac o ran trefn, gallai pob dyn adnabyddus o reolau areithyddiaeth, ddweyd ei fod mor bell oddiwrth bob rheol osodedig yn y gelfyddyd hono, â phe buasai wedi llunio un ar wahan oddiwrth bawb ereill at ei ddybenion ei hun; gallai fod yn ei wrando, rai ag oeddynt wedi sylwi ar ddullwedd Racine, Bossuet, a Fenelon, areithwyr mawr Ffrainc, neu yr eiddo Beyle neu Milton yn Lloegr, ond ymddangosai Mr. H. yn wahanol iddynt oll; os deuai gwr dyeithr i mewn, a hoffai weled Pregethwr a safai yn syth yn yr Areithfa, heb un cyffröad o'r dechreu i'r diwedd, byddai yn sicr o gael siom, am na fedrai Mr. H. lai nag ymsymud, a phlygu, codi ar flaen ei draed, neu ymostwng hyd ei wddf yn y Pulpud, ac ni fuasai saith mlynedd o gyfarwyddiadau athrofäol yn gwneyd un cyfnewidiad arno ef, heb dynu yr elfen danllyd allan o'i gyfansoddiad; eto yr oedd yn feddiannol ar bob arferiad oedd hanfodol i wneyd effaith ar ei wrandawwyr.

Am yr ugain mynyd cyntaf, llefarai mewn dull cymmedrol, os beiddiaf arfer y gair yn ei berthynas â'r fath wrthddrych, yr hyn a ddengys fod ganddo lywodraeth arno ei hun; pe amgen buasai ei nerth yn treulio, ei lais yn crygu, a'r effaith yn colli, cyn traddodi hanner ei bregeth. Ymresymai yn gadarn o'r dechreu i'r diwedd, ond nid arferai appelio â'i holl nerth at deimladau y gwrandawwyr, hyd y rhan olaf o'i bregeth; gwelid arno yn y rhan flaenaf o'r bregeth, ymweithiad mawr, a osodai bob cymmál yn ei gorff ar waith, fel peiriant symud-

ol, ond nid oedd hyny yn peri iddo godi ei lais. Yr oedd pob ystum a barai iddo symud yn ol ac yn mlaen, i lawr ac i fyny, gan daflu ei freichiau ar lêd,—yn ateb y dyben i gynhesu y corff, i glirio peirianau y llafar, ac i ddarparu y llais ar gyfer y rhan olaf. Felly, er na thalodd sylw i reolau, gellir gofyn yn mha le yr oedd diffyg? Gofyniad na fedr yr ysgrifenydd ei ateb,—diau iddo weithredu yn hyn yn gyson â'r cynghor hwnw, "*Reserve your fire*," heb ollwng allan yr agerdd cyn y berwai y crochan, a gwres hwnw a dwymai y bobl, ac er gwaethaf uffern ei hun, codai hwyl.

Ymgadwai mor bell oddiwrth bob math o ffurfioldeb â phe buasai wedi ei greu at y pwrpas o fod yn bregethwr diefryd, (*extempore*); ac nid hawdd fuasai ei berswadio i ganlyn unrhyw ddefod, i'r dyben o gynnal i fyny unffurfiaeth. Beth pe buasai yn byw ar amser y rhyfeloedd cartrefol, pan yr oedd cynnifer o yspiwyr yn gwylied y Pregethwr, er mwyn ei wneyd yn "droseddwr am air," a pherygl dweyd dim ond a fyddai ar y papur? Ai tybied y cadwasai at y rheol? Na, pe bwriasid ef i ganol dinas Rhufain, a chaniatâu iddo lefaru yn ymyl y *Pantheon*, a'i *Santeiddrwydd* yn ei wyddfod, diammeu y buasai yn gwaeddi allan yn groch, "Fe syrth Babilon cyn bo hir," a "Gogoniant" ar ol hyny: ac ni fuasai ei fyd yn ddedwydd iawn o'i fod yn gydoeswr i Augustine, neu Origen, neu Chrysostom, os buasai yn rhaid iddo gydffurfio â hwy trwy *eistedd* i draddodi ei bregeth,—buasai mor hawdd iddo allu cysgu heb ddim i bwyso arno ond ei draed, â meddwl am bregethu o'i eistedd. Wrth ystyried pa mor fywiog y byddai yn traddodi, y mae yn syn ei fod yn medru dwyn allan ei feddyliau gyda'r fath eglurder, heb gymylu ei olygiadau yn nghanol y fath gyffröad, a diammeu fod y tawelwch hyny a welid yn agwedd y gwrandawwyr o dan y rhan flaenaf o'r bregeth, mewn cymhariaeth i'r effeithiau bywiog a welid arnynt o dan y rhan olaf, i'w briodoli i'r llywodraeth

oedd ganddo ar ei lais, yr hwn, er nad oedd yn soniarus oedd yn hollawl dan ei awdurdod a'i feistrolaeth ei hun, yr hyn sy ragoriaeth fawr mewn Areithiwr; medrai ei ddefnyddio heb yr undôn diflas *(monotony)* sydd yn difa pob teimlad hyfryd, gan ddanfon y gwrandawwyr o'r diwedd i gysgu; gwyddai y pryd i'w ostwng, a'r pryd i'w dderchafu.

Llefarai bob amser yn mhriodiaith ei wlad enedigol, heb dalu sylw i aceniad geiriau, oddieithr pan yr arferai eiriau yr ysgrythyr, ac felly yr oedd yn hawdd i bawb wybod mai nid Gogleddwr na Gorllewinwr ydoedd, ond ei fod yn frodor o'r wlad yn yr hon y'i ganed; cyfrifid ef yn ymadroddwr naturiol, er na addefa rhai beirniaid fod priodiaith leol yn beth naturiol, os bydd modd ei ddiwygio; pa le y mae grym y rhesymiad, nid wyf yn gwybod; onid yw diwygiad dynol o bob math yn deilyngach o'i gyfrif yn waith celfyddydol nag yn waith naturiol? Yr oedd Mr. H. mor wrthwynebol i bob math o goegni, fel yr ymlynai yn ddiysgog wrth lediaith yr hen fro yn ei waith yn acenu geiriau cyffredin; gyda hyny o eithriad, yr oedd ardderchawgrwydd yn ei ymadroddion, a a rhyw fawredd arno pan yn mynegi enw yr Arglwydd.

O bawb pregethwyr efe oedd y tebycaf iddo ei hun, bob amser, ac yn mhob man; o'r ystafell ddirgel hyd esgynlawr y Gymmanfa, yr un fath ydoedd; os gofynir pa fath oedd hyny, atebir mai y *fath oedd* Morgan Howells, heb neb o'i flaen nac ar ei ol wedi ei doddi yn yr un fold; yr oedd heb y dawn (os dawn ydyw) at efelychu neb; un o wersi blaenaf yr efelychwr yw dysgu bod yn ddynwaredwr. Pan adroddai Mr. H. ar ol un arall, (yr hyn weithiau a eilw am ddull y *mimic*, yr hyn hefyd a all fod yn beth digon diniwed mewn cyfeillach), byddai yn rhaid iddo ef ddweyd yn ei ddull, ac ymagweddu yn ei wisg ei hun, neu dewi a son, ac felly nid oedd efelychu dawn arall yn brofedigaeth iddo, fel y bu i rai pregethwyr mawr; bu swn a llais bychan y Parch. Robert

Hall yn dilyn y Parch. Christmas Evans am fis o amser; a dywedai ei fywgraffydd i hyny ddrygu llawer ar ei ddawn, oblegid ei draws-newid ef i ddawn Mr. Hall, er iddo wedi hyny ymddiosg o'r arferiad; a phan oedd Mr. Hall yn ieuanc, aeth yntau i efelychu y gwr enwog hwnw, Mr. Robinson, nes iddo ryw dro ar ei ffordd adref glywed un o'i gynnulleidfa yn dweyd wrth y llall, "Mewn gwirionedd, yr oedd Mr. Hall yn peri i ni feddwl am Mr. Robinson," yr hyn a adroddai wedi hyny wrth gyfaill, a dywedai, "*That, Sir, was a knock-down blow to my vanity, and I at once resolved that if ever I did acquire reputation, it should be my own reputation.*" Wele efelychiad yn brofedigaeth i ddau wr mawr, y byddai yn annheg eu cyfrif yn efelychwyr, am na wnaethant grefft o'r arferiad; ond ni wybu Mr. H. am yr arfer hyd y nod fel profedigaeth, a chynghorai frodyr ieuainc i ymgadw oddiwrth y fath arferiad dirmygedig; dywedai mewn Cyfarfod Misol unwaith, wrth ymddyddan â brawd, "Gwisgwch eich *coat* eich hunan, fy machgen i, yn hono y dysgleiriwch, os dysgleiriwch *chi* byth." Peth digon gwael yw gwneyd ystumiau tebyg i ddynion mawr, a'r rhai hyny yn rhai hyll a hagr ar y goreu. Nid oes dim mewn ystum, llais, na cherddediad pregethwraidd i'w efelychu; y peth sydd eisieu yw cyfranogi o'r ysbryd sydd yn addurno y cenadau.

Fel yr oedd ei ymadroddion yn naturiol, felly hefyd yr oedd pob ysgogiad ar ei gorff yn wasanaethgar i wneyd i fyny y ffrwd fawr o hyawdledd grymus a fyrlymai allan o'i enau. Yr oedd yn ddigon celfydd i ddwyn allan bob meddwl mewn ffurf mor ddibris â phe deuai y cwbl iddo ar y pryd, a diau fod llawer o'i sylwadau yn hollol ddifyfyr. Yr oedd *action* mor naturiol iddo ag oedd i Paul yn y synagog "amneidio â'i law."

Pan o fewn deg neu ugain mynyd i ddybenu, gwelid ef yn dwyn allan ei holl nerth, amcanai wneyd i'r bobl ddeall a

chyfranogi o'i deimlad ef yr un pryd,—ei wres a'i fywiogrwydd a deimlid fwy fwy o hyny hyd y diwedd,—tybid ei fod weithiau am daflu ei berson i ganol y dorf,—ymestynai dros y pulpud,—tarawai wyneb yr areithfa â'i law,—ei gorff yn wefrawl gan gynhyrfiadau yr enaid,—a'r enaid fel pe galwai am ychwaneg o gyrff i'w llanw â'r golygfeydd gogoneddus; ond gan nad oedd ond y corff hwnw i gael, rhaid oedd iddo wneyd ei oreu, a phan y rhoddai y floedd fawr allan, y Philistiaid a grynent, tra yr ymunai Israel yn y floedd, am fod "arch cyfammod yr Arglwydd yn ngwersyll yr Hebreaid."

Wedi rhoddi y darluniad uchod o'i ddullwedd, cofier mai y darluniad cyffredin a roddwyd, a'i fod ambell waith yn cael yr hyn a elwir "oedfa galed;" a phryd hyny byddai yn galed iawn, a phob peth o'i le ond ei faterion; medrai ddangos ei faterion pan na allai draddodi yn hwylus, a daliai afael yn ei bwnc ar ol colli llywodraeth ar ei lais; ond y mae yn rhaid addef, mai anfynych y dygwyddai yr eithriad hwn. Y mae dygwyddiad dyeithrol weithiau mor fanteisiol i ganfod cymmeriad, â'r hyn fyddo yn arferiad cyffredin. Peth lled ddyeithr fyddai clywed pregethwr yn dweyd wrth gynnulleidfa ei fod yn analluog i bregethu, ac yn ei waith yn gwneyd yr esgusodiad ei fod yn derbyn penderfyniad gwahanol; ond er mor ddyeithr yw, cymmerodd le unwaith yn y Maesteg; daeth Mr. H. yno ar noswaith, mewn poen mawr gan y ddannodd, aeth i'r pulpud â'r neisiad am ei ben, dechreuodd Mr. Phillips yr oedfa, yna safai Mr. H. i'r lan, a dechreuai drefnu ei gadach, a dywedai wrth y gynnulleidfa, "Alla' i ddim pregethu i *chi* heno." Edrychai yn lled ddiflas, a'r cannoedd gwrandawwyr a edrychent yn syn, ac yntau yn tynu ei law dros ei ben, ac yn teimlo ei ruddiau dolurus, yna dywedai, "Mae'r *Tic Douloureux* a'r ddannodd yn fy mlino yn ofnadwy—mae pechod wedi myned i'r esgyrn,—ni wn i ddim p'am y mae poen yn y dannedd yn fwy angerddol nâ rhyw ran arall,

os nad am mai hwy fu gyntaf yn y camwedd pan yn *byta'r* afal."

> 'Yn Eden cofiaf hyny byth,
> Bendithion gollais rif y gwlith,—*O! golled fawr.*
> Syrthiodd fy nghoron wiw;
> Ond buddugoliaeth Calfari
> Ennillodd hon yn ol i mi,
> Mi ganaf tra fwy' byw.'—*Gogoniant!*

Mae buddugoliaeth Calfari yn gwella'r *Tic Douloureux!*—a'r ddannodd!—a'r *cwbwl!*" Yna ymaflodd yn y neisiad, a thynodd hi oddiam ei ben gyda brys, a dywedai, "Dyna, mi bregetha' i *chi* 'nawr," ac heb ganu, cododd ei destun, ac aeth yn mlaen i bregethu, heb sôn am boen na dolur, oddieithr am loes Calfaria fryn.

Dosr. III. *Ei Faterion.*—Crist wedi ei groeshoelio ydoedd canolbwynt ei weinidogaeth; ni fethodd gael ffordd at Grist o bob testun, ac yn yr ymdriniaeth â phob mater, ac yr oedd yn hawdd credu fod yr hwn y llefarai am dano yn anwyl iawn ganddo; ymddangosai mor gynnefin, yn ffurf ei gyfeiriadau at Bethlehem a'r preseb, â phe buasai wedi teithio gwlad Judea yn nghymdeithas ei Arglwydd; a'r fath newydd-der yn ei sylwadau cyffrous am ing Gethsemane a Chalfaria â phe buasai newydd ddychwelyd o ben Golgotha. Crist bob amser oedd nôd ei genadwri; perffeithiau y Duwdod—cariad Crist a'i swyddau cyfryngol—dirfawr drueni dyn—trefn Duw yn ei Fab ar gyfer ei adferiad—a'r anghenrheidrwydd am waith yr Ysbryd, a phob cangen arall o athrawiaeth yr efengyl, a gymmerai i mewn fel materion ei weinidogaeth. Ymddengys mai cyfiawnhad drwy ffydd, person Crist, a'r cyfammod gras, ydoedd ei ddewisol bynciau. Yr oedd y gwirioneddau mawrion a draddodai yn brofiadol iddo ei hun, yr hyn a'i gwnaeth yn abl i'w traethu yn ddigymmysg i ereill; triniai gyflwr dyn o dan bechod, heb ei ddangos yn well nag oedd, gadawai ewyllys a gallu y pechadur i oleuni haul y dat-

guddiad dwyfol eu dangos; ac ar ol y credai y pechadur ei fod yn wan a diallu, dywedai yntau fod ei anallu yn bechod; nid anog i lanhau ac adgyweirio y tŷ a fyddai, ond dangos yr anghenrheidrwydd am ei dynu i lawr, am fod y gwahanglwyf drwyddo oll; ni fyddai galwad i bechadur gwyno ei fod heb ddeall, am y dywedai wrtho yn eglur, yn ngeiriau y gwirionedd, ei fod yn ddamniol eisoes; tra y gofidiai ei enaid o herwydd anerchiadau ar ddiwygiad moesol, fel moddion digonol i droi pechaduriaid, gwaeddai allan yn groch, "Y mae yn rhaid eich geni chwi drachefn." Dywedai weithiau wrth bregethu, "Y mae'r oes yn cael ei thwyllo; mae nhw'n canu'r bobl i ddinystr y dyddiau yma; ond 'does dim a wna'r tro ond yr Adgyfodiad mawr."

"Thus men go wrong with an ingenious skill;
Bend the straight rule to their own crooked will;
And with a clear and shining lamp supplied,
First put it out, then take it for a guide.
Halting on crutches of unequal size,
One leg by truth supported, one by lies."

Cyfrifid Mr. H. yn un o'r rhai uchel-galfinaidd, ond pa un ai uchel, goruchel, isel, neu ganolradd mewn Calfiniaeth y gelwid ef, nid oedd neb yn fwy parod i ddangos noddfa i bechadur yn y fan a drefnodd Duwdod; dyrchafodd ras penarglwyddiaethol Duw yn ddigon uchel; ac ar alwad yr efengyl gwahoddodd bechaduriaid i ymdreiglo at y groes.

Yn yr ymdriniaeth â phob gwirionedd, profai y gosodiad drwy ymresymiadau; ni chlywais ef yn gwneyd haeriadau un amser, ar un mater, heb reswm cadarn yn sylfaen i'w farn; cymmerer yr enghreifftiau canlynol; wrth son am Gadernid y Cyfammod Gras, a'i ragoroldeb ar y Cyfammod Gweithredoedd, dywedai fel hyn:—"Yr wyf yn teimlo fy hunan yn gryfach nag Adda; nid Adda wedi myned i lawr, cofiwch; ond yr wy'n gryfach nag oedd Adda y man goreu fu arno, cyn iddo gwympo yn Eden; mae hon yn Athroniaeth dda,

fod asgwrn yn gryfach lle *torws y*, nag oedd *y* cyn hyny." Pan yn pregethu ar y PECHOD GWREIDDIOL, dywedai, "Y mae genyf *Saith Volume* gartref yn traethu ar y Pechod Gwreiddiol, dwy *Volume Folio* fawr, y fi a'r wraig, a phump *Volume Quarto*, sef y pum plentyn, dyna saith i *chi* yn traethu ar yr un pwnc." Ar RAS PENARGLWYDDIAETHOL DUW, dywedai, "Y mae cariad Duw fel y *loadstone*, yr hwn sydd yn myned heibio i'r aur a'r arian, ac yn codi i fyny yr haiarn; felly y gwnaeth y Duw mawr, yn ei gariad a'i ras, fe aeth heibio i'r angylion, er eu bod yn llestri aur, i gael gafael mewn dynion; dyna mae e'n wneyd yn awr, chwilio am y llestri pridd, i'w codi o'r tyrau llwch." Er anog at ADDOLI yn foreu ar y SABBOTH, edrychai allan drwy ffenestr y pulpud, pan yn pregethu ar foreu Sabboth yn Llaneurwg, ac yna tröai at y bobl, a dywedai, "Nid wyf yn foddlon i ddechreu cyfarfodydd mor hwyr â deg o'r gloch ar foreu dydd yr Arglwydd. Paham y byddwn ni ar ol creaduriaid ereill? Mi welais y Robin Goch, cyn i mi godi o'r gwely, yn addoli wrth ei fodd; yr oedd e'n canu yn hyfryd hefyd." Pan yn traethu ar AMYNEDD DUW, sylwai fel y canlyn:—"Y mae amynedd y Jehofah yn fawr iawn; y mae yn dda nad yw cyfiawnder a santeiddrwydd Duw gen i, i gashau pechod fel y mae Duw yn ei gashau, a hollalluawgrwydd Duw i ddial am bechod, onite mi ddinystriwn y byd cyn y boreu fory; ond er fod Duw yn cashau pechod yn anfeidrol fwy nag y medr creadur meidrol ei gashau, a'i allu yn anfeidrol i gospi pechod, y mae yn Nuw amynedd anfeidrol hefyd, sydd yn attal dros amser. 'Canys nid fy meddyliau i yw eich meddyliau chwi, ac nid eich ffyrdd chwi yw fy ffyrdd i, medd yr Arglwydd.'" I osod allan DDYFAIS DOETHINEB, ar bwys y geiriau a welir yn Eph. iii, 16, "Fel y byddai yr awrhon yn hysbys i'r tywysogaethau," &c., dywedai fod amryw blygiadau o ddoethineb Duw, ac ymaflai yn y Bibl, a phlygai amryw o'r

dail ar eu hŷd, mewn gwahanol ranau o'r llyfr; yna dadblygai y cyntaf, a dywedai, "Dyna blyg mawr yn amlygiad o ddoethineb yn y Greadigaeth." Yna dadblygai yr ail, gan ddweyd, "Dyna blyg rhagluniaeth." Ond pan y daeth i grybwyll am yr iechydwriaeth fawr, dadblygodd yr holl ddail, a chan agor y Bibl, a'i godi i'r lan, gwaeddai, "A welwch *chi*, bobl, dyna fawr amryw ddoethineb Duw. O'r drefn fawr! Doethineb ŵyr y ffordd i *ffeindio* Gwaredwr, wedi i bawb fethu; buwyd yn chwilio am dano yn y nefoedd, y lle goreu yn gyntaf, ond 'doedd yno un cymhwys i gael; dim yn y nefoedd? nac oedd yn y nefoedd; yna chwiliwyd ar hyd y ddaear, ac ni chafwyd un, a 'doedd ond nefoedd a daear i'w chwilio; ond fe *ffeindiodd* doethineb un at y pwrpas, drwy gylymu nefoedd a daear yn un,—amser a thragywyddoldeb,—Duw a dyn,—gair a chnawd. *Well done*, doethineb, ti *gest* afael arno." Dangosai RAGORIAETH Y BYD HWN AR Y BYDOEDD FRY, drwy sylwi fel hyn:—"Mae nhw'n dweyd wrtho ni fod rhai yn byw yn y bydoedd uwchben, ond mi *weda chi*, mae'n well gen 'i fyw yn y byd hwn, waith 'does ganddyn' nhw un Bethlehem a Chalfaria; nyni biau y rhei'ny." Mynych iawn, yn enwedig yn y blynyddoedd diweddaf, y deuai i'w feddwl ADGOFIAD AM EI DROEDIGAETH; ar achlysur o'r fath, dywedai, "Dyna ddymunwn i, os gellir dweyd ar ol i mi farw, *Poor fellow*, fe chwythodd y gwynt arno o bob *cwarter*, ond ni syrthiodd, canys sylfaenasid ef ar y graig. Rhowch genad i fi i adrodd hymn wrth gofio am y tro mawr tua'r Casnewydd, wedi i fi fyned yno o fro Morganwg yn fachgen gwyllt:—

"Rhwng Pihahiroth a Baal-Sephon,
Tra f'wy' byw mi gofia'r lle,
Mewn cyfyngder eithaf caled,
Gwaeddodd f'enaid tua'r ne';
Yn ddio'd wele'n d'od,
Y waredigaeth fwya' erio'd."

Barnai fod y LLWCH YN DDIOGELACH NA'R NEFOEDD, pan y dywedai, "Dau le diogel sydd, y nefoedd a'r llwch; ac o'r ddau, y llwch yw y mwyaf diogel, waith fe gwympodd rhai o'r nefoedd, ond ni chwympodd neb erioed o'r llwch." Sylwai ar y cyd-darawiad oedd rhwng FFYDD PAUL A GWEITHREDOEDD IAGO, yn y dull canlynol:—"Mae llawer yn dweyd nad yw nhw'n dyall Athrawiaeth yr Efengyl, a'u bod heb wel'd cysondeb y naill wirionedd ar gyfer y llall; pe bae nhw yn astudio trefn gras yn well, gwelent y cysondeb yn ddigon amlwg; nid oes dim gwrthdaro rhwng Paul a Iago, rhagor nag sy rhwng y sylfaen a'r adeilad; gosodwch *chi* weithredoedd Iago yn sylfaen, fe gwymp yr adeilad; ond gosodwch ffydd Paul yn sylfaen, a gweithredoedd Iago yn yr adeilad, fe saif y *building;* o eisieu dyall yr athrawiaeth yn well, mae dynion yn dyrysu yn y pynciau mawrion yma." Pan yr oedd cynhwrf mawr yn y wlad, er ys blynyddau yn ol, yn nghylch bedydd, a phob plaid yn myned yn mhell o'u lle, gwnaeth sylw ar y CAMARFERIAD O ORDINHADAU, a dywedai, "Nid pethau i'w harfer yn mhob agwedd yw ordinhadau dwyfol; byddai yn well gan yr Arglwydd fod pawb yn troi bedydd heibio yn mhob ffurf am dair blynedd, nâ dyoddef yr holl *antics* sy ar hyd y wlad y dyddiau hyn." Byddai yn gwneyd sylwadau hynod o sobr a difrifol ar amserau, yn enwedig tua diwedd ei oes, gyda golwg ar sefyllfa adfeiliedig crefydd yn y deyrnas hon, megis y sylw canlynol, o dan y gymhariaeth o DIR DRWG:—"Nid yw ein *soil* ni yn Mhrydain, yn cyduno â'r had da; *chi* gewch wel'd na chawn ni ddim *crop* mwyach yn y deyrnas hon, nes ei *haredig â barnau.*"

> "Tremble and be amazed at thine escape,
> Far guiltier England, lest he spare not thee."

Arferai ddybenu pob pregeth ag ysgrythyrau tarawiadol, y rhai a adroddai yn effeithiol iawn; ni osodai fwy o bwys ar

ddim nag ar y geiriau hyny; y rhei'ny fyddent yr hoelion a sicrheid gan feistr y gynnulleidfa, a thaflai sylwadau bywiog i mewn rhyngddynt. Dyna un hoel fawr a ddefnyddid ganddo yn aml, "Am hyny nid ofnwn pe symudai y ddaear, a phe treiglid y mynyddoedd i ganol y môr;' mi waeddwn ar lwch y byd, Gogoniant!" Yna ymaflai mewn hoel arall, "Y mynyddoedd a giliant,'—ciliant hwy,—'a'r bryniau a symudant,'—symudant hwy,'—'eithr fy nhrugaredd ni chilia,'—mi gwaranta'i!—O diolch!—'a chyfammod fy hedd ni syfl, medd yr Arglwydd;' fe saif y cyfammod yn gadarn pan fo mynyddoedd y byd yn ymollwng." Yna ymaflai mewn hoel arall, "Odditanodd y mae'r breichiau tragywyddol,'—fyddai ddim gwahaniaeth gen'i *tae* mynydd Twynbarlwn a mynydd y Garth yn myn'd i lawr i'r *Bristol Channel*, a *tae'r* byd yn myn'd yn gregyn cyn y boreu fory!—Mae'r bywyd wedi guddio gyda Christ yn Nuw; mae pob peth yn dyrysu y dyddiau yma,—mae fel pe *bai'r* llong yn nghanol y storom!—Hi aiff yn *wreck* ofnadwy yn fuan!—Mynwch y bywyd mewn lle diogel!—*Deliwch* lawer â Chalfaria!—'Wyddoch *chi* ddim nad yw'r waedd hanner nos gerllaw!—Mynwch eich lampau wedi eu trwsio cyn delo'r priodfab!—O, mae fy enaid yn mron myn'd allan o fy nghorff i, wrth feddwl am galedwch yr oes yma!—Diangfa!—Mae'n rhaid i fi droi i'r *chweched* Salm a deugain eto; yr wy'n dewis yr un noddfa â Martin Luther mewn tywydd garw:—'Y mae afon, a'i ffrydiau a lawenhant ddinas Duw, cysegr preswylfeydd y Goruchaf;' yr *wy'n* teimlo yn ddedwydd y fynyd yma, heb deyrnwialen na gorsedd, ac yn fwy cyfoethog nag Amherawdwr Rwssia; yr wy'n rhwym o ddiolch yn yr olwg ar y fath drysor annhraethol!—Mae marsiandwyr mawr yn peryglu eu bywydau wrth fyn'd i'r gwledydd pell i geisio gwneyd eu *fortune;* mae rhai o nhw yn llwyddo hefyd, ac yn gwneyd deng mil ar hugain mewn un *voyage;* mae iddyn' nhw *reso;* ond mi 'naetho i fwy nâ

hyny boreu heddy' cyn *breakwast*, mi gym'rais daith tua Gethsemane a Chalfaria, mi fuo yn edrych ar y bicell fain a'r waywffon, ac mi welais le i bechadur lechu o dan ei gysgod ef,—newidiwn i ddim o'm sefyllfa â'r *Grand Turk.* Gogoniant!" Er nad yw y cynddrych uchod ond anmherffaith, eto y mae yn ddarluniad a bair i'r sawl a arferent wrando Mr. H. i ail-gofio yr effeithiau grymus a gerddent gyda'r traddodiad; ond ofer mwyach fydd agor y glust i wrando llais y prophwyd—yr hyawdledd mawr a fu o gymmaint gwasanaeth i drosglwyddo yr ymadroddion at ystyriaethau y gwrandawwyr, a ddystawodd yn y rhyfel olaf,—ond er gorwedd o honynt yn awr mewn inc, mor farw ag arf y milwr a orchfygwyd ar faes y gwaed, teimlwyd hwynt yn llaw yr hwn a gariodd y bwa fel llymion saethau cawr,—ond er na ellir anghofio ei ddifrifoldeb, am ei fod yn ofnadwy, yn wir!—yr oedfa olaf a ddaeth, pryd y dywedodd am byth, Amen, ac Amen!!!

Dosp. IV. *Ei Gynllun.*—Yn ei ddewisiad o destunau, nid oedd dim hynodrwydd, trwy ymchwilio am y geiriau mwyaf diystyr at y dyben; nid oedd erioed wedi meddwl fod defnydd Pregeth yn mhob adnod yn y Bibl, ac nid oes neb o chwaeth a feddwl hyny ychwaith; ond yr ystyriol, a'r duwinydd, a gyd-gondemniant bob chwim afreolaidd o'r fath. Dywedai un gwr, os byddai ar bregethwr eisieu testun, y gallai gymmeryd y geiriau, "Parthiaid, a Mediaid, ac Elamitiaid;" ond pan elai Mr. H. i'r gôd, chwiliai am geryg mwy miniog; ei gynghor unwaith i bregethwr ieuanc, yr hwn a hoffai destunau dyeithrol, oedd, "Peidiwch byth a defnyddio testunau anghyffredin, ond mynwch *bethau anghyffredin.*" Gweithredai bob amser yn gyson â'r cynghor hwnw, drwy ddefnyddio y testunau mwyaf cynnwysfawr, megis, "Trwy ras yr ydych yn gadwedig, &c.—Nid oes gan hyny yn awr ddim damnedigaeth, &c.—Cyn belled ag yw y dwyrain oddiwrth y gorllewin, &c.—Yr hwn sydd yn maddeu dy holl anwireddau,

&c.,—a gadawodd y Parthiaid a'r Mediaid i'r sawl a fedrent ddwyn allan rywbeth o ddim. Yr oedd y testun a gymmerai, bob amser yn cynnwys y mater fyddai yn ei bregeth, heb gymmeryd yn ganiataol fod yr un gair yn mhob cysylltiad yn perthyn i'r un mater; cwynai Arch-esgob Fenelon, fod rhyw un wedi cymmeryd yn destun ar ddydd Mercher y Lludw, y geiriau, "Bwyteais ludw fel bara." Nid rhyfedd i'r gwr urddasol gwyno, oblegid amlwg yw nad oedd un cyfatebrwydd rhwng mater y testun ag achlysur y bregeth, ond yn unig yn swn y gair "lludw"

O ran trefniad ei faterion, arferai fyned yn mlaen, o ddechreu ei bregeth hyd ei diwedd, yn ddiattreg, heb benau cyffredinol na rhaniadau i dynu sylw; o herwydd hyn, cafodd y gair ei fod yn bregethwr afreolaidd, ond nid oedd hyny yn deg; os cyfrifir yr urddasolion uchaf yn awdurdod digonol, cofier mai barn Arch-esgob Cambray oedd, fod undeb y pwnc yn myned i golli unwaith y rhenid ef; ac Esgob Burnet a ddywed, na ddylai un bregeth gynnwys rhagor nag un pen; eto ynfydrwydd fyddai penderfynu nad oes ond un drefn yn briodol, onite deuai y Dr. Watts i mewn yn bleidiwr gwresog dros gynllun gwahanol, a'r Dr. Doddridge a arferai raniadau ac adraniadau, ac ni fyddai wrth ei fodd heb eu henwi ddwywaith; ac felly, os nad oedd Mr. H. yn canlyn cynllun y Doctoriaid, yr oedd yn yr un ffurf â'r Esgobion, ac er ei fod yn gymmeriad ar ei ben ei hun mewn llawer o bethau, nid oedd (ein Hesgob) yn annhebyg yn mhob peth i Esgobion ereill:—gan nad oedd yn gylymedig wrth un drefn benodol, yr oedd pob peth newydd a gyffrifai yn deilwng i'r areithfa, wrth ei law, ac ni adawai i ddim braidd fyned heibio, heb ei droi at ryw ddyben da, megis pan fyddai cyffroad etholiadol yn y wlad, dywedai, "Y mae'r bobl wedi ynfydu; mae rhai yn bloeddio, '*Red for ever*,' ereill, '*Blue for ever*;' mae gen' innau arwydd-air, os gwelwch yn dda,—'*Rhad ras for ever!*'"

Wedi y cwbl, y mae yn debyg fod ganddo drefn raniadol adnabyddus iddo ei hun, a bod ei fedrusrwydd i guddio y drefn hono oddiwrth ei wrandawwyr, yn gymhorth iddo fel darluniwr, a gorfodid pawb a wrandawai arno i gredu ei fod yn gampus fel y cyfryw,—os dewisai ddarlunio y bedd, ymaflai yn ei *goat*, dangosai deneurwydd ei gorff, teimlai ei ruddiau, a hyn oll yn ddefnydd i wneyd y *painting*,—mynych y crybwyllai am angeu, ac agwedd y corff wedi marw, a'r pryfed yn ymborthi arno, a'i edrychiad ar y pryd fyddai yn debyg i ddyn yn ymyl byd arall: codai ei lawes i'r lan, ymaflai yn aden ei *goat*, ac edrychai ar ei ystlys, a chan gyfeirio at y pryfed, dywedai, "Ond ni bydd yma fawr iddyn' nhw gael."

Dosp. V. *Dylanwad ei Weinidogaeth.*—Gan fod gwahanol ffyrdd drwy ba rai y gall hyd y nod y gwirionedd effeithio ar ddynion, ac ennill i'r traddodwr gymmeradwyaeth, mae yn ofynol deall pa fath ydoedd y dylanwad hwnw a gydgerddai â gweinidogaeth Mr. H.—Er fod ganddo bob cymhwysder at osod allan ei feddyliau dyfnion yn oleu, a pheri i'r gwirionedd fod yn borthiant i'r gwanaf ei amgyffred, eto nid ag ymadroddion llyfn, *fine*, mewn mantell sidanaidd, yr arferai draddodi, ond yn hollol wahanol. Pa bryd y clywwyd y bobl yn ei ganmawl o herwydd mwyneidd-dra ei ddawn, boneddigeiddrwydd ei ymddygiad, tynerwch ei eiriau, neu bereidd-dra ei lais? Dim erioed; er ei fod yn meddu teimladau a barai i bob pechadur ddeall ei fod yn amcanu dangos iddo fan i ymgyfarfod â'i wrthwynebwr mewn cymmod; eto, pe buasai uchder ei orsaf ef yn ymddibynu ar ymddangosiad allanol, buasai yn un o'r dynion mwyaf diddylanwad yn y dywysogaeth, yr hyn a brawf fod ffordd i fynwesau y Cymry, heblaw drwy weinidogaeth wenieithgar y *Jesuit*. Dywedir weithiau am bregethwr, nad oes ganddo ddim ond llais, neu ei fod yn ddyn tawel a diniwed, ond am ei bregeth y gellid ei gosod

mewn cylch bach; os felly y mae, pa fodd nad oes gan ryw un awdurdod i gynghori pregethwr y llais i osod rhywbeth yn ei lais, ac i gynghori ereill yn ol yr anghen? Y mae y fath ddywediadau yn annhegwch â'r dynion a gyfrifir yn foelion, ac yn niweidiol iawn i'r weinidogaeth; eto, y mae pethau bychain ac arwynebol yn attegion sy wedi cynnal rhai drwy eu hoes; ond os nad oedd Mr. H. yn lleisiwr, yn ddengar, nac yn hynod o *fine*, o ba le, gellir gofyn, y deilliai ei ddylanwad, pan yr addefir fod dull dengar pregethwr yn beth mor sicr o'i wneyd yn boblogaidd? Os bydd y pregethwr yn gwahodd y bobl i'r eglwys, tueddir ei wrandawwyr i gredu ei fod yn eu caru yn fawr; ond ni chyrhaeddodd Mr. H. ddylanwad erioed ar bwys gwahodd dynion i wneyd *pròffes* o grefydd,—eu cymhell i *fod* yn *grefyddol*, i *fyw* yn *dduwiol*, fyddai efe; a buasai yn well ganddo gerdded ar ei draed a'i ddwylaw i ennill un pechadur at Iesu Grist, nà phroselytio pum cant er mwyn eu gwneyd yn Fethodistiaid heb eu haileni; ei farn ef oedd, fod yr ysgubor yn rhy lawn o ûs eisoes. Y rhai hyn a'u cyffelyb oeddynt y golygiadau a gyhoeddai yn ddigon eglur i bawb ddeall ei feddwl; a dywedai yn lle amlaf y bobloedd yn erbyn yr *interludes* crefyddol a'r chwareu â phethau y cysegr, nes yr ofnai rhai rhag i'r bobl ddigio, ofnai yntau dewi rhag iddo ddigio Duw: dywedai ar goedd mil o bobl, "Y mae yn dymhor i achub yr athrawiaeth, ac y mae yn rhaid achub hòno, cyn y daw yr Ysbryd Glân i achub llawer o bechaduriaid." Onid ymadroddion hollol anmhoblogaidd oedd y rhei'ny? Dywedwyd wrtho fod tuedd yn ei athrawiaeth i darfu y bobl, ond ni effeithiodd hyny yr un cyfnewidiad yn ei ddull, mwy nag ar Paul pan yr oedd athrawiaeth y groes yn dramgwydd i'r Iuddewon; buasai mor hawdd i dewi Martin Luther pan yr oedd Ewrop fel crochan berwedig ar y tân mawr a gynneuodd, â thewi Morgan Howells. Tarfu y bobl! Gwelai fwy o berygl i gnawdol-

rwydd yru y bobl i gyffinisu anffyddiaeth, nag i wirionedd Duw wneyd hyny. "Pe safasent yn fy nghynghor," ebe yr Arglwydd am y prophwydi, "a phe traethasent fy ngeiriau i'm pobl, yna y gwnaethent iddynt ddychwelyd o'u ffordd ddrwg." Y mae yn anmhosibl teimlo yn briodol dros gyflwr y byd, heb eiddigeddu yn mlaenaf dros *y gwirionedd* sydd at achub y byd, a'r hwn sydd i'w *llywodraethu* ar ol eu hachub; ac ni all y mesur hwnw o ddwysder meddwl dros wirionedd, a ymddibyna ar gymhorth braich o gnawd, fod yn ddigon dwys i ddal mewn profedigaeth; ac nid yw y graddau hyny o ymddiffyniad a rydd yr Eglwys i athrawiaeth neu ddysgyblaeth yn rheol ddigonol i was yr Arglwydd,—y mae'n rhaid iddo sefyll neu syrthio ar ei ben ei hun, a phe byddai i bawb wneyd ysmig ar lygredigaeth, ei ddiogelwch ef fydd sefyll ei dir;—y cyfryw oeddynt egwyddorion Mr. H., y rhai a ddygodd allan yn ei bregethau; nid oeddynt yn egwyddorion a ellid eu galw yn boblogaidd, eto yr oedd y dyn yn un o'r poblogeiddiaf yn Nghymru; nid oedd ei ddywediadau yn rhai dylanwadol ynddynt eu hunain, er hyny yr oedd y dywedwr yn dylanwadu ar y werin; o ba le ynte y deilliai ei ddylanwad? Bod nerth yn ei bregethu ac arddeliad ar ei bregethau a fuasai yn ateb ar gylchwyliau Pentecostaidd Llangeitho yn y dyddiau gynt, sydd dra sier; nid yw hyn ond profi fod gwirionedd digymmysg yn beth a weithia ei ffordd, yn absennoldeb llawer o bethau ereill a gyfrifir yn fawr.

Ar ol gwisgo y gwirioneddau â geiriau ardderchocaf y Bibl, dygai allan ei gymhariaethau hynod, a'r drychfeddyliau mwyaf hedegog, taflai y rhei'ny fel perlau y naill ar ol y llall; pan yn llefaru yn ei lymder mwyaf, gellid meddwl fod ystorom y daran yn y fan, a'r naill daran ar ol y llall ar chwalu y cwbl, ac arswyd y byd anweledig yn ysgwyd y corf; byddai yn hawdd deall ei fod yn meddu teimi (*tact*) a wnelai i'r bobl deimlo hefyd. Yr oedd wedi ei ddysgu gan Dduw, ac felly

yr oedd yn addas i addysgu ereill; nid oedd presennoldeb pobl lawer yn ei ddychrynu, na chynnulleidfa fechan mewn lle anial yn ei ddigaloni; gallai ddweyd, fel y Parch. Ebenezer Morris, "Y mae'r bobl cyn hyn wedi bod yn fwbach ar fy ffordd; ond o'r diwedd yr wyf wedi dysgu dweyd fy nhipyn cyngher yn ymyl Duw."

Gwelwyd dylanwadau mwy grymus yn Nghymru yn yr oes a aeth heibio, nag a ganfyddir yn gyffredin y dyddiau hyn; edrychid ar y cyffröadau hyny fel penboethni priodol i'r genedl, heb ystyried fod rhyw fath o foledd o dan bregethau dawnus yn mhob oes, megis taro traed a churo dwylaw, chwyfio cadachau, a banllefau uchel o gymmeradwyaeth; a chyfiawnder yw dweyd fod y cyffröadau a welwyd yn Nghymru, ac a welir eto ambell waith, (ond i raddau llai,) yn fwy tebyg i foliannu yr Arglwydd, nâ'r arwyddion o foledd a arferid yn mysg cenedloedd ereill, y rhai a wnaent y pregethwr ac nid Duw yn wrthddrych addoliad. Pan oedd Cyril yn nghanol pregethu, gwaeddai ei wrandawwyr allan, "*Orthodox Cyril;*" a gwaeddent allan pan y pregethai Chrysostom, "Tydi yw y *trydydd Apostol ar ddeg!*" Ni bu y Cymru yn ol ar un genedl mewn hwyliau grymus o dan weinidogaeth y gair, ac ni bu Mr. H. yn ail ond i ychydig yn Nghymru yn y dylanwad a gerddai gyda'i weinidogaeth. Dywedir mai y Gymdeithasfa gyntaf yn yr hon y torodd llewyrch mawr o dano, ydoedd un a gynnaliwyd yn Llanfairmuallt, tua'r flwyddyn 1826; pregethai am 6 o'r gloch y boreu, gyda gwr o'r Gogledd; pan yr oedd y bobl yn yr hyn a elwir "teimlad hyfryd," a'i ysbryd yntau wedi cynhesu, estynai y Bibl dros y pulpud, ac o dan gynhyrfiad areithyddol, bloeddiodd allan, "Mi gwela' hi'n clirio tua bôn y gwynt." Yna, clywid swn, ac wele gynhwrf,—adlais o ganol y llawr,—adlais arall yn ei ganlyn,—yna cyffröad mawr yn mhen draw y gynnulleidfa, yr hwn a foddwyd mewn hanner mynyd gan ddwsin o Amen-

au,—y Pregethwr ar y pryd yn taro y Bibl ar ei fynwes ag un llaw, ac â'r llaw arall i'r lan, gwaeddai, "Gogoniant! Haleluia!" ac nid oedd mwyach ond un swn nefolaidd dros y tŷ, a hwnw yn debyg i lais telynorion Seion yn canu ar eu telynau; gwelid rhai yn wylo, ereill yn llewygu, lluaws yn gwaeddi, ac amryw ugeiniau yn neidio ar unwaith;—hon oedd un o oedfaon hynotaf ei oes.

Y mae yn gysur i bregethwyr a ddyoddefant oddiwrth ddigalondid meddwl, (yr hyn sy dueddol i lawer, ac yn rhwystr i'w defnyddioldeb,) mai yn y gwaith y derbyniai Mr. H. fwyaf o hyder i fyned yn mlaen; pa faint bynag o wyneb yr Arglwydd a dderbyniai yn y dirgel, yr oedd ar y ffordd o'r dirgel i'r cyhoedd, neu o'r fyfyrgell i'r areithfa, faglau yn aml, fel mai nid yn hawdd y gellid ei berswadio i fyned i'r Capel, pan y dysgwylid iddo bregethu. Aeth i Ddowlais, ar ddydd gwaith, yn y flwyddyn 1827, pan oedd ei gyhoeddiad yno ar ganol dydd; methodd yntau gyrhaedd y lle cyn un o'r gloch, pryd y cyfarfu un o'r Blaenoriaid ag ef tu allan i'r addoldy; gyda'r gair cyntaf, dywedai, "Yr wyf yn rhy lesg i bregethu, yr wy'n dost iawn." "O na," ebe y Blaenor "y mae'n rhaid i chwi ymdrechu y tro hwn eto, mae yna lon'd y Capel o bobl yn eich aros." "Wel, ni wn i ddim beth i wneyd â nhw," meddai yntau. "O, weda *chi*," ebe'r Blaenor, "dewch i *dreio*,—dangoswch eich hunan, fe fydd hyny yn well nâ dim." Gwyddai y gwr, os gellai lwyddo i ennill y Pregethwr i mewn, a chael y gynnulleidfa ac yntau wyneb yn wyneb, y byddai pob peth yn ei le; wedi dirgymhell yn ddyfal arno, i mewn yr aethant,—cododd Mr. H. ei destun, a dechreuodd bregethu, gan daranu nes arswydo llawer, teimlwyd fod nerthoedd yr Ysbryd yn myned allan gyda'r gair, aeth y salwch yn anghof, ymddangosai y Pregethwr claf yn ei wisgoedd milwraidd, a chleddyf y ddeddf yn ei law, ac yntau yn llaw Duw yn clwyfo drwy y fyddin: dygwyddai fod

yn yr oedfa ar y pryd un o'r dynion mwyaf rhyfygus mewn annuwioldeb yn y lle, gafaelodd y bregeth yn hwnw, taflodd ei arfau gwrthryfel i lawr, ac yn ol darluniad bywiog y bardd,

"Truth from his lips prevail'd with double sway,
And fools, who came to scoff, remain'd to pray."

Felly y bu y tro hwn, ni fedrai y clwyfedig ddychwelyd adref gyda'i hên gymdeithion, a chan riddfan am drugaredd, derbyniwyd ef i aelodiaeth yr Eglwys yn y fan, pryd y tywalltwyd olew a gwin i'w glwyfau briwedig—Profai, drwy y dylanwad a feddai ar y bobl, ei fod yn medru treiddio i mewn i'w mynwesau, cerddai ei eiriau fel y gwimled, neu yn debyg i'r darad yn ei thrywaniad i'r dderwen; a phob tro yn ei chario yn ddyfnach i mewn;—yr oedd ei law yn gorphwys ar y bobl, am fod Ysbryd yr Arglwydd yn gorphwys arno ef.

DOSP. VI. *Dirgelwch ei Ddylanwad.*—Yr oedd Mr. H. yn feddiannol ar hyder i allu dweyd fel Paul, ei fod yn gwybod ofn yr Arglwydd, yr hyn a'i gwnaeth yn alluog i berswadio dynion. O dan lywodraeth yr ofn hwn y treuliodd y rhan fwyaf o'i oes,—yr ofn hwn a'i gwnaeth yn weddïwr mawr,—a'i cadwodd mewn cymdeithas agos â Duw,—a barodd iddo ymofyn â'r Arglwydd am ei gyfarwyddyd, fel y credai pawb mai cyfaill Duw ydoedd. I ba gynnifer bynag o bethau allanol y gellir priodoli ei ddylanwad, yn hyn yr oedd dirgelwch penaf y dylanwad hwnw,—yma yr oedd cuddiad ei gryfder,—a mynych y dygai allan dystiolaeth amlwg o gyfrinach ei enaid a'r Arglwydd pan y cyhoeddai ei air ef, fel y dywedai un tro yn y Trevil, gerllaw Tredegar, pan y llefarai ar y geiriau, "A'n cymdeithas ni yn wir sydd gyda'r Tad, a chyda ei Fab ef, Iesu Grist." "Yr wyf wedi bod yn yr *office*," meddai, "yn *settlo'r busness* gyda Duw am dair awr y boreu heddy." Dywedir fod ei wedd yn profi i bawb yn y lle mai Pregethwr newydd ddychwelyd o gymdeithas â Duw ydoedd. Dywedai Mr. Newton, "Nid oes neb ond yr hwn a greodd y

byd a fedr wneyd Gweinidog yr Efengyl,—os bydd cynneddfau gan ddyn ieuanc, y mae addysg dda ac ymröad egniol yn ddigonol er ei wneyd yn ysgolhaig, yn philosophydd, neu yn areithiwr; ond y mae'n rhaid i Weinidog gael egwyddorion, dybenion, a theimladau neillduol, ac nid oes ffordd i'w cael heb eu derbyn oddiuchod." Wedi ei wisgo â'r doniau hyny yr oedd ein gwrthddrych; byddai ei gyfeiriadau mynych at ei dröedigaeth, fel pe cyflwynai i'r gynnulleidfa un o dystlythyrau ei swydd, yr hyn a effeithiai yn fwy ar feddyliau dynion nâ dim arall a allai ei ddweyd; yn enwedig ar y sawl a dderbyniasent fywyd drwy offerynoldeb ei weinidogaeth,—y mae enaid achubedig yn caru gweled arwyddion achubiaeth ar yr hwn fu yn offeryn i'w droi at Dduw, a pha arwyddion a allai fod yn amlycach nâ'r rhai a welid arno ef? Yn ei grybwylliadau am y "*tro mawr,*" y gellid meddwl am Paul yn ei barodrwydd i sôn am y goleuni a lewyrchodd o'i amgylch ar ei ffordd i Ddamascus, pan y derbyniodd ei *gredentials* o law y Brenin ei hun,—ac nid aeth y noson hono pan oedd Jacob ar ei ffordd i Padan-Aram fyth yn anghof,—edrychai yn aml tua Luz, lle y gorweddasai ar obenydd careg, ac edrychai ar y lle yn wahanol i bob man arall. Yr oedd tröedigaeth Mr. H. wedi ei wneyd yn hysbys yn nghydwybodau ei wrandawwyr, a da oedd ganddynt ei glywed yn dweyd, "'Rwy'n cofio, ac mi gofiaf byth, am ddaioni Duw tuag ataf, tua'r Casnewydd, wedi myned yno yn fachgen gwyllt, o fro Morganwg; ond mi *geso* drugaredd; ni aiff y tro ddim yn anghof i dragywyddoldeb." Mor fynych y neidiodd yn y pulpud, fel caethwas diangol, gan waeddi, "Diolch!" a "Gogoniant!" nes y gorfodid pob meddwl i gredu fod *diolchgarwch* fyn ei ddiolch, a mawl i Dduw yn cael ei ddychwelyd yn y gair "*gogoniant.*" Yr oedd dyfodiad "Cae-y-Parrot" i'w feddwl, yr un peth â hen le yr allor i Abraham.

Ond nid yn ngwres crefydd ddeugain mlynedd oed yr oedd yn myned yn mlaen. Yr oedd cysondeb yn mhob dyledswydd, a gweddi yn neillduol yn beth o fawr bwys yn ei olwg; nid oedd yn barnu fod cyffröad tair gwaith yn y flwyddyn, ar y Pasg, y Sulgwyn, a Nadolig, gystal â chrefydd gyson Daniel dair gwaith yn y dydd; dywedai unwaith fod rhyw ddyn yn y Casnewydd yn rhy fydol i weddio ar hyd yr wythnos, a'i fod yn ceisio gwneyd y diffyg i fyny drwy weddio seithwaith y Sabboth; ond nad oedd yn debyg fod yr Arglwydd yn gwrando un o'i weddiau, o herwydd ei anghysondeb.

Yr oedd cysylltiad agos iawn rhwng ymdrech ei enaid â Duw â llwyddiant ei weinidogaeth; byddai ysbryd gweddi yn disgyn yn bwysig iawn arno yn gyffredin, o flaen rhyw arddeliad amlwg ar ei weinidogaeth. Yr wyf yn crybwyll hyn er dangos mai yn nirgel gymdeithas ei enaid â Duw, yr hanfodai dirgelwch y dylanwad hwnw a welid mor eglur yn ei ymarferiadau cyhoeddus. Yr oedd ei gyhoeddiad un tro yn Llanmartin, ar nos Wener, ar ei ffordd i Gymdeithasfa *Bristol*, a dywedai wrth un a gyd-deithiai ag ef, "Ewch yn mlaen, ac na ddywedwch air wrthyf am ddim; yr wyf am gael ychydig o lonydd." Deallodd ei gydymmaith ei fod yn nghanol ei fyfyrdodau, ac aeth rhagddo. Wedi cyrhaedd y lle, trefnwyd fod Mr. H. i bregethu yn Saesoneg, a gwr arall yn Gymraeg, a chan y dygwyddai fod yn gynnar y prydnawn, gofynodd Mr. H. am gael ystafell i fyned ar ei ben ei hun, lle y treuliodd awr o amser mewn gweddi; ond yr oedd yn dywyll iawn ar ei feddwl; ac fel pe buasai pyrth pres cauedig rhyngddo â'r Arglwydd; o'r diwedd digalonodd, a phenderfynodd ddychwelyd adref, a dechreuodd ei ffordd; ond cyn myned yn mhell, wele ryw lewyrch bach o oleuni yn tywynu i'w feddwl,—y cadwynau a ymddattodent yn raddol,— ac aeth yn gyfrinach rhyngddo â'i Dad nefol o'r newydd; trodd yn ei ol, a phregethodd y noson hono gyda nerth mawr.

iawn. Yr oedd gwraig gyfrifol yn yr oedfa, yr hon oedd elynol iawn i grefydd, ac wedi treulio ei dyddiau yn oferedd ei meddwl; ond ei thro hithau a ddaeth, ac argyhoeddwyd hi yn y fan o dan y bregeth hono.

> "But in his duty prompt at every call,
> He watched and wept, he pray'd, and felt, for all."

Cadwyd ef yn nghanol yr effeithiau grymus a achosid gan ei bregethau heb ymchwyddo, na chyfrif iddo ei hun yr hyn oedd ddyledus i'w Feistr. Dywedai un a fu yn gyfaill iddo yn y Gogledd am ddeufis, ei fod wedi synu yn fawr wrth weled tyrfäedd mor lluosog yn mhob man, a'r tywalltiadau grymus o ddylanwadau yr Ysbryd Glân a ddisgynent yn gawodydd ar y gwrandawwyr; ond yr hyn a'i synai fwyaf oedd fod Mr. H. mor ddisylw o'r cynhyrfiadan hyny, fel pe na fuasai yn ymwybodol o fod dim anghyffredin yn cymmeryd lle;—ei hunanymwadiad a'i ostyngeiddrwydd a brofai ei fod yn trigo lawer o'i amser yn nirgelwch y Goruchaf; yr hyn yn ddiau a achosai ddylanwad mor fawr.

> "There stands the messenger of truth: there stands
> The legate of the skies! His theme divine,
> His office sacred, his credentials clear."

Ni wyddai Moses ddim fod croen ei wyneb yn dysgleirio pan ddaeth i waered o'r mynydd, ond fe wyddai meibion Israel, a hwy a ofnasant; yr un modd y bernid am Mr. H. yn aml, oblegid fod ei olwg ddyeithr yn profi ei fod newydd ddychwelyd oddiwrth yr Arglwydd,—teimlid saethau ofnadwy, fel y teimlwyd o dan bregeth y Pentecost,—ias yn treiddio drwy y gwaed,—yr argyhoeddedig yn taro ei law ar ei ben, gan feddwl fod ei wallt wedi troi i fyny, ond dychymmyg ydoedd; nid oedd yno ond cydwybod yn cael ei deffroi, er fod yr oruchwyliaeth yn ysgwyd yr holl ddyn, gorff ac enaid, o dan awdurdod anorchfygol genau yr Anfeidrol!

Dosp. VII. *Hynodrwydd ei Weinidogaeth.*—Ar wahan oddiwrth bob peth amgylchiadol, yr oedd amrywiaeth cymhariaethau a drychfeddyliau Mr. H. yn gwneyd ei weinidogaeth yn hynod iawn, dygai allan ei ddrychfeddyliau mawrion y naill ar ol y llall, nes y byddai'r meddwl wedi ei lanw â syndod, yn yr olwg ar eu hardderchawgrwydd gogoneddus; y gwrandawwyr mwyaf digyffro ar achlysur arall, a orchfygid gan synedigaeth, fel y byddai ar ddyn gwledig yn nghanol gweledigaethau y brif-ddinas, ni allai hwnw adrodd yn drefnus hanes y lle, na'r rhyfeddodau a welsai, er hyny, efe a ddywedai wrth bawb, "*There is no place like London.*" Cyfrifid pregeth Mr. H. gan y dynion mwyaf deallus, yn fath o amgueddfa (*museum*) lawn o ryfeddodau, ac ni feddwl un dyn diragfarn mai gormodiaith yw dweyd fod ei bregeth yn debyg i arddangosfa (*exhibition*) fawr, a ddaliai i edrych arni drachefn a thrachefn, heb golli ei newydd-deb; beïid ef unwaith wrth wr lled synwyrol, am na ddygai allan ychwaneg o bregethau newyddion, a'r atebiad a roddodd hwnw oedd, na fedrai un dyn yn Ewrop gyfansoddi *llawer* o'r fath bregethau â'r rhai a ddarperid gan Morgan Howells. Deallodd y dyn yn y fan, nad oedd pob peth yn gynnwysedig mewn *rhif;* ni ddarfu iddo gyfansoddi ond ychydig o bregethau newyddion yn y blynyddoedd olaf, ond yr oedd yn eu dodrefnu beunydd, ag ychwanegiadau o feddyliau ardderchog; ac egluriadau mewn ffurf newydd ar hên wirioneddau.

Yr oedd neillduolrwydd arall ynddo, a barai i'w bregethau ymddangos yn hynod ar droion; medrai gymmeryd i fyny yr effaith a genedlid gan ei sylwadau blaenorol, er ychwanegu at y teimlad hwnw effaith fwy; os llefai rhyw un allan yn yr oedfa, talai sylw os byddai galwad, heb golli golwg ar y mater fyddai mewn llaw;—cyfeiriai unwaith at erwindeb y daith, "Y mae rhai o honom," meddai, "wedi bod yn agos i ddeugain mlynedd yn yr anialwch," a hen wraig ddall ar ganol y

tŷ, yr hon a arferai fod yn fywiog ei hysbryd, a lefai allan, "*Hanner cant.*" "O," meddai yntau, "mae yma rai wedi bod am hanner cant;" ac yna ymaflai yn ei fater. Tro arall, yn yr un lle, dywedai, "Cawn edrych yn ol wedi croesi i'r *ochor* draw, tua Sir Forganwg a manau ereill, lle y buom yn dyoddef oddiwrth bla y galon, ac ni gawn ganu y pennill hwnw yn hyfryd,

"Ar fryniau Caersalem ceir gweled,"

A thra y tröai i ddiolch, ymaflai yr hen wraig yn yr ail linell, a dywedai yn uchel,

"Holl daith yr anialwch i gyd;"

Ni chafodd ond y blaen ar yr hen chwaer i gael adrodd y drydedd linell, ac fel y dywedai,

"Pryd hyn y bydd troion yr yrfa."

Ymaflai yr hen wraig yn y gair, a chyd-adroddent y pennill hyd ei ddiwedd.

Arferai ymadroddion hefyd na feiddiai neb arall eu defnyddio, rhag ofn tramgwyddo y bobl. Dywedai unwaith wrth bregethu yn y Casnewydd, "Y mae'r Capel hwn yn garchar, y *seats* yw'r *condemned cells*, a'r gwrandawwyr yw'r carcharorion." Tramgwyddodd rhai wrtho yn fawr; ond fe'u cynghorwyd i beidio digio, am fod Mr. H. wedi sicrhau mai "carcharorion gobeithiol" oeddynt.

Onid oedd hynodrwydd yn y dull canlynol o drin y testun, "Canys felly y carodd Duw y byd," &c.? Dywedai fel hyn, "Fe fu'r geiriau yma yn *gordial* i mi yn nhywydd mawr yr argyhoeddiad, pan oedd pob gobaith wedi darfod.* Wrth edrych yn mlaen, yr oedd tragywyddoldeb diddiwedd yn ymagor i'm derbyn,—ar y llaw ddehau, deddf Sinai wedi *chargo* ei magnelau,—ar y llaw aswy, cythreuliaid uffern yn bytheirio

* Gwel hanes ei argyhoeddiad, pennod yr ail, tu dalen 13.

am fy enaid, nes i Fab Duw ddyfod i'r maes a dweyd, "*Clear the way*, ddiawliaid!" Yna taflai ei freichiau ar led, i ddarlunio dyfodiad y Cyfryngwr yn mlaen i gymmeryd ei achos mewn llaw, a chydag effeithiau na ellir eu gosod allan mewn ysgrifen, gwaeddai allan fel pe byddai brwydr â dreigiau y pwll i gymmeryd lle ar y pryd, "*Clear the way*, ddiawliaid!—Myfi a'i piau,—*costiodd* i mi waed fy nghalon,—ni chaiff fyned yn ysglyfaeth i ddannedd cythreuliaid byth!—*Gogoniant!*"

DOSP. VIII. *Cydweddiad ei Weinidogaeth ag Urddas y Swydd.*—Wrth daflu yr olwg ddiweddaf ar Mr. H. yn y cylch pwysig hwn, gellir edrych arno megis yn mhob cylch arall a berthynai i'w fywyd cyhoeddus, yn ddyn gwir ddifrifol,—wedi ei wisgo gan Dduw at orchwylion ei swydd,—yn dwyn gydag ef argraff sobrwydd, santeiddrwydd, ac ofn yr Arglwydd, yn ei holl ymdriniaeth â gwirioneddau yr Efengyl; yr oedd yn hollol rydd oddiwrth bob tuedd at iselhau cymmeriad y weinidogaeth, a gwyliai ar ei eiriau rhag defnyddio *terms* llygredig, anaddas i le mor ofnadwy; golygai y genadwri oedd ganddo at bechaduriaid, yn un o natur rhy bwysig i gellwair â hi, ae ni feiddiai arfer "serthedd, nac ymadrodd ffol, na choeg ddigrifwch," er mwyn difyru gwamalrwydd nwyfus y bobl. Cafodd y gair ei fod yn pregethu *nonsense;* do, a chofier am un a gyhuddwyd am yr un peth, o dan eiriad arall, sef "ffolineb pregethu." Difriaeth ydoedd yr amcan yn y naill, a chabledd yn y llall; ond "fe welodd Duw yn dda," trwy yr hyn a elwid yn "*nonsense*" gan rai, ac yn "ffolineb pregethu" gan ereill, "gadw y rhai oedd yn credu." Gwelwyd gwrandawwyr Mr. H. yn gwenu un fynyd ac yn wylo y nesaf, ond ni welwyd hwynt erioed yn plygu eu penau, o herwydd *coeg wit* ac anfoesgarwch ei ymadroddion;—na, yr oedd "ei draed yn weddaidd ar y mynyddoedd," a'i eiriau yn foesgar a phrydferth; yr oedd gwedd y gynnulleidfa yn profi pa fath ydoedd yn yr ystyr hyn, am nad oedd achos i neb

welwi na gwrido, ac am na welwyd gwragedd coethedig un amser yn gorfod cuddio eu hwynebau gan gywilydd o herwydd ei ymadroddion.

"He that negotiates between God and man,
As God's ambassador, the grand concerns
Of judgment and of mercy, should beware
Of lightness in his speech. 'Tis pitiful
To court a grin, when you should woo a soul;
To break a jest, when pity would inspire."

Gadawodd bob digrifwch a chellwair i'r chwareufa, a'r *circus*, a'r dawns, a phob geiriau bryntion i fasweddwyr difoes. O'i esgyniad i ben 'stol am y tro cyntaf, ar lofft y Pobty, hyd ei ddisgyniad ar hyd grisiau pulpud Twyn-Carno am y tro olaf, medrai ofyn, "A arferais i ysgafnder?" Dywedai yn ngeiriau y doeth, "Am chwerthin, ynfyd yw; ac am lawenydd, Pa beth a wna?"—Gorphenodd ei waith heb lychwino y cysegroedd.

Yr Englynion canlynol, a gyfansoddwyd ar gyfer y Cofiant, gan y Bardd, yr hwn y mae ei enwogrwydd yn y byd llëenyddol y fath, fel mai ofer i mi ddweyd dim rhagor nâ'u gosod yn nglyn â chymmeriad mwyaf cysegredig ein gwrthddrych, er boddhad ac adeiladaeth y darllenwyr:—

### Y DIWEDDAR BARCH. MORGAN HOWELLS.

Mawrygwn hewyd* Morgan Howel,—Dyn,
A Duw yn ei arddel;
Dŷn awchiwyd â dawn uchel,
A dŷn â min, yn dŵyn mel.

Bwriai lawer i bêrlewyg,—â nawf
Ei nefol ddychymyg,
Hidlydd mŵyn hyawdledd mŷg,
Heb yntho un *dawn benthyg*.

* Hewyd,—dyhewyd,—*devotion*.

**Mêl-gawodau, ac aml lygeidyn—gan**
**Ogoniant yn eu dilyn,**
**Oedd nodau doniau y dŷn,**
**Câr didwyll pob credadyn.**

**Efengylai ef, yngwaeledd—y cnawd,**
**Nes cnydio tangnefedd ;**
***Llun salw* oedd, yn llawn sylwedd,**
**Un doeth fu,—*ond aeth i'w fedd!***

EBEN FARDD.

**Clynnog Fawr, Hyd. 1, 1852.**

---

# PENNOD VIII.

## CYFATEBRWYDD HOLL YMDDYGIADAU MR. HOWELLS I'W GYMMERIAD GWEINIDOGAETHOL.

Ei Ddiddichellrwydd—Yn barchus o'i frodyr—Dyoddef enllib—Ei barodrwydd i faddeu—Ei agweddau duwiolfrydig mewn tai dyeithr—Ei Grefydd gartref.

I'R dyben o gyflawni ei weinidogaeth yn y rhandir hono o'r winllan y gosodwyd ef ynddi gan ragluniaeth y Nef, yr oedd yn rhaid iddo dreulio rhan fawr o'i amser oddicartref, yn ddisylw o bob croes a blinfyd a allai fod yn ei aros; nid oedd gwres nac oerni, ffyrdd geirwon a disathr, nac ambell i wely *damp*, i fod yn attalfa arno; ac wrth ystyried gwendid ei gorff a breuder ei gyfansoddiad, y mae yn rhyfedd iddo allu dal ei ffordd yn mlaen; er hyny, efe a aeth o nerth i nerth, heb ddiffygio gan ludded y daith.

Fel ereill o bregethwyr teithiol, yr oedd yn agored i fyned o dan feirniadaeth cylch ëang o bobl, ac yr oedd ei gymmeriad i gael ei benderfynu gan y miloedd, y rhai a edrychent arno nid fel pregethwr mawr yn unig, ond fel dyn a Christion, am mai cyflawnder o ras oedd yr olew a dröai olwynion ei bregeth;—bu yn hir iawn yn nghlorianau y werin,—pwyswyd ef yn dêg, ac efe a gaed yn "fesur da, a dwysedig,"

gan gyfateb yn mhob man ac yn mhob cysylltiad fel dyn, i'r hyn ydoedd yn ei swydd fel gweinidog.

Yr oedd ei ddiddichellrwydd yn beth amlwg iawn, heb ynddo ddim cyfrwysdra na ffalsedd cuddiedig, gyda bwriad i dwyllo na niweidio neb ; —yn yr ystyr yma dyn ydoedd ag y gellid ymddiried iddo yn ddiberygl ;—er nad arferai ganmol ei hun, yr oedd yn ganmolwr mawr a diduedd ar bawb a haeddent ganmoliaeth. Ymddyddanai yn barchus am bregethwyr mawr, ac ni chynnygiai ddiffodd canwyll gŵr ieuanc gobeithiol, rhag i'w lewyrch ei hun ddiflanu; a gwrthodai gyda dirmyg bob arwydd o barch a gynnygid iddo, os byddai y parch hwnw ar y draul o ddiystyru ei frawd. Dywedai Mr. Thomas, o'r Babell, iddo fyned i'r Casnewydd ryw dro, ar gais cyfeillion y Goetre, i'r dyben o gael gan Mr. H. i fyned yno i bregethu ar angladd un o hen aelodau y lle; ond atebiad Mr. H. oedd, "Ni allaf feddwl am y fath beth ; pa synwyr sydd i fi fyned i'r Goetre ar y fath achlysur?" "Digon o synwyr," ebe Mr. T., "os yw yn synwyr i chwi bregethu." "Iĕ," ebe Mr. H., "nid hyny yw'r pwnc ; onid yw Thomas Harry yn byw yn y lle? ni allaf feddwl, ar un cyfrif, i fod mor ddiystyr o deimladau yr hen frawd." Yr oedd ynddo lawer o bethau o'r fath a elwid yn *oddities*, y rhai y byddai yn grefyddol eu cyfrif yn rhinweddau, ac yn fwy felly pe canlynid y cyfryw *oddities* mewn cyffelyb amgylchiadau. Yr oedd y tro a goffâwyd yn gyson â'i arferion cyffredin o dalu parch i deimladau ei frodyr, heb edrych ar frawd llai ei ddawn nag ef ei hun, mor ddirmygus â phe buasai wedi hanu o ryw eppil arall. Yn nglyn â'r ymddygiad hwn o'i eiddo, annhegwch fyddai peidio crybwyll ei fod yn amddiffynwr mawr i'w frodyr mewn profedigaethau ; ni dderbyniai gwynion enllibiwr o bell nac o agos, yn erbyn brawd yn y weinidogaeth! Mynai ddeall y mater mewn ffordd fwy efengylaidd, gan ei chwilio allan i'r gwraidd ; ac os gwelai fod y cyhuddedig

yn dyoddef ar gam, amddiffynai ef hyd at waed, er gwaethaf pob gwrthwynebiad.

Yr oedd ei fod ef ei hun yn ddiddichell o egwyddor ac ymarferiad, yn peri fod pob arwydd o ddichell a welai yn tori allan mewn ereill yn ei flino yn fawr; a diau fod yn anhawdd i greaduriaid o wahanol rywogaethau gyd-fyw. Pa bryd y gwelwyd y golomen yn mynychu nyth y wiber? ac onid annaturiol fyddai taflu yr oen bach i growyn y cŵn? Y mae natur wedi trefnu i'r seirph fyw ynghyd, a mwy rhesymol i'r cŵn, os mynant gnoi, i gael cnoi eu gilydd; coeliai Mr. H. nad oedd yr efengyl islaw natur yn ei hordeiniadau, yr hyn a barai i bob ysbryd sarphaidd ei daflu yn fuan oddiar ei attegion; mewn ystorom o herwydd enllib dywedai unwaith mewn cyfarfod, "Yr wyf yn dyoddef mil o farwolaethau oddiwrth fy mrodyr y dyddiau hyn, y maent yn fy erlid yn ofnadwy, ac y mae hyny yn effeithio ar fy amgylchiadau." Yr oedd yr hyn y cyfeiriai ato ar y pryd wedi trallodi ei ysbryd yn fawr, tra nad oedd ei grybwylliad ef o'i deimlad, ond ychwanegiad grym i'r enllibiwr i ddifrio mwy.

Cafwyd profion mynych ynddo ei fod yn ddyn maddeugar, —yn faddeugar ar yr arwydd leiaf o edifeirwch, ac yn aml heb ddim cyfaddefiad ar du y troseddwr. Rhoddodd fenthyg swm o arian unwaith i ddyn, ond ni ddaeth dydd y talu eto; —clywodd Mr. H. fod ei ddyledwr anonest yn dyner o'i famyn-nghyfraith, (yr hon oedd weddw i bregethwr,) ac yna yr oedd y cwbl i ben. "Wel, wel," ebe fe, "mae yn dda gen'i ei fod yn sylwi ar yr hen wraig, fe gaiff gadw'r arian, o'm rhan i;" ac ni ynganodd air am y ddyled mwyach.

At y profion blaenorol o gyfatebrwydd ei ymddygiadau i'w swydd fel gweinidog, y mae yn briodol sylwi fod y drefn deithiol yn un sydd yn rhwymo pregethwyr i ymarfer â llawer o deuluoedd, ac y mae ymddygiadau gweinidogion y Gair yn y manau hyny o fawr bwys i gymmeriad y weinidogaeth; os

dewisir gwybod pa fath ddyn oedd Mr. H. yn y cylch hwnw, gellir sicrhau mai un hawdd ei foddloni ydoedd; ni fu bwyd-ydd na diodydd yn fagl iddo,—yr oedd y tueddiadau anifeil-aidd, i raddau mawr, yn ddarostyngedig i ryw ddeddfau angylaidd a'i llywodraethent, ac felly yr oedd yn ddyn cym-medrol iawn, ac nid anfynych y clywid ef yn coffâu yr ysgrythyr hono, "I ychydig y mae ymarfer corfforôl yn fuddiol." Sylwai fwy ar un Mair ymofyngar am y gwir, nag ar lawer Martha a drafferthai yn nghylch llawer o wasanaeth teuluaidd; gadawodd hyn argraff ddwfn ar feddyliau y gwragedd caredig a fuant dyner o hono yn ei ymweliadau â'u tai, am y credent mai nid dyn barus ydoedd, ond fod rhyw beth mwy pwysig ar ei feddwl nâ gofyn iddo ei hun, "Pa beth a fwytâf, a pha beth a yfaf?" O ran ei foddloni ef, nid oedd eisieu rhagor nâ darpariaeth y wraig o Sunem, "gwely a bwrdd, ac ystôl a chanwyllbren," ac ychydig o ymgeledd yn y dull cyffredin, a'r pethau am yr Iesu i flaseiddio'r gyf-eillach, a byddai pob peth yn ei le. Wrth yr allor deuluaidd yr arferai fod yn ddifrifol iawn, disgynai arswyd ar y teulu-oedd yn aml wrth ei glywed ar ei liniau, pan fyddai newydd ddisgyn o'r mynydd, (y weddi ddirgel); yr oedd y gadair ar yr hon y pwysai yn cael ei heneinio â mwy o ddagrau y boreu hwnw, pan y dygwyddai ef fod yn ymwelydd y teulu, nag a dywalltwyd ar gadair Moses gan oes o Phariseaid hunan-gyfiawn, yr hyn a'i gwnaeth yn ogoneddus iawn gerbron miloedd Israel. Ar y weddi deuluaidd, yn nhŷ Capel Pen-ybont-ar-ogwr, ar ryw dro y disgynodd yr ysbryd yn bwysig iawn arno, dywedai, "O Arglwydd, yr ydym yn dyfod atat, yr ydym yn arfer dyfod, ond nid fel arfer heddyw; testun ein gweddi gynt oedd, ar i ti achub y byd annuwiol, ond heddyw ein gweddi yw ar i ti *achub yr Eglwys*,—achub Weinidogion yr Efengyl, Arglwydd, sydd wedi rhuthro i'r swydd, a thithau heb eu hanfon hwynt,—y maent wrth

............ tuag uffern,—maent yn gwadu dy Fab, Arglwydd; hyny yw, gwadu ein bywyd ni; achub nhw, neu cymmer nhw oddiar y ffordd." Y tro diweddaf y bu yn Nghaslychwr, ymddangosai yn fwy hynod nag arferol; y bennod a ddarllenodd ar achlysur yr addoliad teuluaidd ydoedd 2 Thes. ii. Sylwai ar ranau o'r bennod wrth fyned yn mlaen; oddiar y geiriau, "amryfusedd cadarn," dywedai fod tyrfaoedd mawrion yn credu celwyddau, er dinystr iddynt eu hunain; wrth sylwi ar y geiriau, "Oblegid i Dduw o'r dechreuad eich ethol chwi i iachawdwriaeth," dywedai, "*Mi 'nelswn* i gystal heretic â neb o honynt, oni buasai fod Duw o'r dechreuad wedi sylwi arnaf. Diolch iddo am ethol o'r dechreuad." Wrth weddio, aeth dros amryw ymadroddion allan o'r bennod a ddarllenasai, a gweddiai gyda thaerineb mawr am ddinystr buan ar Fahometaniaeth a Phabyddiaeth, ac am ddilead ar yr holl heresiau â "dysgleirdeb dyfodiad" yr Arglwydd; dywedir fod ei agwedd a'i daerineb yn gweddio dros y teulu, ac yn enwedig dros ei deulu ei hun, yn creu arswyd ar y sawl oedd yno; ymddangosai fel un wedi ei orchfygu gan y difrifoldeb a'r pwys oedd ar ei feddwl, ac ymsymudai ar ei liniau o'r naill fan i'r llall; y mae yn hawdd meddwl fod rhyw beth anarferol arno, cyn ei fod yn ymadael â'r gadair lle y dechreuodd weddio, a'i fod yn diweddu gweddio uwchben cadair arall; enghreifftiau ereill lled gyffelyb a ellid eu dwyn i mewn.

Fel hyn gwyddai pawb pa fath ddyn oedd i'w ddysgwyl, pan y deuai Mr. H. heibio,—ei fod yn y gongl yr un fath ag yn y cyhoedd, ac yn nghilfach y berth yr hyn ydoedd wrth fwrdd yr Arglwydd. Mewn teuluoedd dyeithr ni chlywid ef un amser yn ymorol yn nghylch amgylchiadau y teulu nes peri edrych arno yn fwy tebyg i un o farnwyr y chwiliad-lŷs nag i athraw Efengylaidd;—os taflai olwg ar addurniadau y fantel, neu yr arluniau ar y mûr, ni wibiai ei lygaid yn

mhellach, a gadawai helyntion y gwartheg a'r llaethdŷ, y dodrefn ac ystafelloedd y tŷ, yn gystal â phob crochenyn ynddo, i'r ymyrwyr rhodresgar a gyfrifent y fath swydd yn rhan o'u cenadwriaeth, ac ymadawai yn siriol, gan ysgwyd llaw â phob un, yn ddiolchgar am eu caredigrwydd.

Yr oedd ei fod yn ddiddichell, yn meddu cariad brawdol, yn faddeugar, ac "heb ymyraeth â materion rhai ereill," yn ei wneyd yn ddyn "gogyhyd ei esgeiniau." Pregethwr heb y nodau hyn, er meddu dawn a galluoedd dwsin, a dŷn i lawr ei enwogrwydd â'i law ei hun.

Oddiar yr hanes a rydd ei blant am dano, ymddengys ei fod yn treulio llawer o'i amser gartref mewn gweddi ddirgel; griddfanai lawer yn ei ystafell dros ei blant, a mynych y gwelsant ef yn dyfod allan o'i ystafell, gan wylo dagrau yn hidl; gofynai un o'i blant iddo, "*What is the matter, Father?*" a'i atebiad fyddai, "*O leave me alone, my dear,*" a dychwelai yn ei ol. Yr oedd gwasgfa ei enaid dros ei deulu, yr Eglwys, a'r byd, mewn dirgel fanau, yn dweyd llawer dros symledd diffuant y dyn yn ngweinyddiad ei swydd yn gyhoeddus.

---

## PENNOD IX.

### YMDRECH MR. HOWELLS YN ERBYN CYFEILIORNADAU.

**Gweinidogaeth gyfeiriol—Cynneddfau Esgob—Pabyddiaeth—Puseyaeth—Finneyaeth—Parodrwydd ei ddawn—Ysbryd *Catholic.***

"Truth must never bow to fashion or prejudice.—No man was ever eminently successful in his ministry who did not make Truth his friend.—A minister should remember that Truth does not wear the dress of a party; wherever she is, she is one and the same, however variously men may array her."—CECIL.

---

Y WEINIDOGAETH fwyaf ddefnyddiol i'r byd, yw yr hon a gyfeiria ei hwyneb at bechodau ac heresiau ar eu hymddangosiad cyntaf, heb ymgadw bob amser at yr un ffurf, a dim

ond un nôd cyffredin ar bob tymhor ac yn mhob amgylchiad; y mae anerchiadau cyffredin i'r dyben o brofi athrawiaethau amlwg a chredadwy, yn sicr o golli eu heffaith, pan y mae anerchiadau grymus er gwrthsefyll cyfeiliornad yn ei bryd, yn gadael argraff ddwfn ar eu hol; glynu at yr un ffurf yn wyneb pob cyfnewidiad moesol a gymmer le, sydd hollol wrthwyneb i bob cynllun ysgrythyrol, o eiddo Crist, y prophwydi, a'r apostolion,—y mae hefyd yn groes i arferiadau y byd mewn pethau tymhorol, ac nid yw yn derbyn cefnogaeth allan o ddeddfau natur. Yr oedd Mr. H. yn fanwl yn ei ymdriniaethau â phob gwirionedd a gynnwysai llyfr Duw, ond ni foddlonai ar ddweyd y gwir, fel plentyn yn adrodd ei bader, heb lefain â'i gêg yn erbyn pob anwir, am y cyfrifai hyny yn rhan o'i swydd.

Nid oedd Esgob, yn ol darluniad yr apostol, i fod yn "newyddian yn y ffydd." Y meddwl gwreiddiol yw, "nid yn faban." "Gwr Duw" ydyw,—"Milwr da,"—"Gweithiwr difefl,"—"Gweinidog cymhwys,"—"Pysgotwr dynion." Hen bregethwr heb y nodau uchod, nid yw ond hen faban, ac ni waeth lawer pa faint o ysgelerder a gymmer le, gan na fedr y baban wylio y ddinas; ni fydd y gwyliwr yn abl dychrynu'r bobl, am mai baban yw! Pan gododd Mr. H., cafodd holl wersyll y gelynion ddeall mai milwr ydoedd, a gellid edrych arno nid yn unig fel athrawiaethwr grymus; ond hefyd fel un o'r muriau cadarnaf yn Nghymru er attal rhuthrgyrch cyfeiliornadau; safai i fyny yn y pwyllgor bychan, yn y Cyfarfod Misol, yn y Gymmanfa Gwarterol, ie, yn holl eisteddfodau yr henuriaid, ac fel cad-lywydd y fyddin, galwai, a chymhellai yn daer yr holl wyr o nerth i'w gynnorthwyo; dywedai ar y cyfryw achlysuron, "Cyfodwch gyda mi, frodyr anwyl, yn erbyn y cyfeiliornadau." Treuliodd flynyddoedd olaf ei oes gan gredu fod y lledrith a ragwelwyd ganddo mewn blynyddoedd boreuach, wedi myned allan i'r holl

dir,—ac ni lefarodd mor eglur erioed, ag o fewn y flwyddyn olaf o'i oes, am yr hyn y mae miloedd yn awr yn edrych yn mlaen yn bryderus at ei gyflawniad, sef y deuai corwynt llidiog oddiwrth yr Arglwydd yn fuan, o herwydd yr amryfusedd a orphwysai ar y byd crefyddol. Yr oedd wedi ei wreiddio yn ddwfn yn yr egwyddorion a bregethai, fel nad oedd modd i'w ysgwyd gan un awel ddysgeidiaeth, ac nid oedd ei aflwyddiant mewn ennill ereill i gymmeryd i fyny ei fesurau ef yn cyfnewid dim arno, yn mlaen yr oedd yn myned mor benderfynol ag Elias yn yr ogof; cyfodai ei lef fel llew, a'i enaid yn ymferwi ynddo, pan feiddiai rhyw un yngan gair yn erbyn un o athrawiaethau sylfaenol crefydd; gwrthwynebu athrawiaeth croes Crist, oedd cyffwrdd â chanwyll ei lygad ef; yr oedd y pigiad yn rhy lym, ni allai ei oddef, a chodai arfau rheswm ac ysgrythyr yn wyneb y gelyn; nid oedd ei fwa un amser heb saeth arno; deued y gelynion pan y deuent, yr oedd ei fagnel ef yn barod i dânio, a thânio i bwrpas a wnai. Saethodd ef hwynt nes i angeu o'r diwedd ei saethu ef. Llefarodd lawer yn erbyn Morganiaeth, Sosiniaeth, ac Ariaeth; ond y cyfeiliornadau y llefodd fwyaf yn eu herbyn, yn mlynyddoedd olaf ei oes, oeddent Pabyddiaeth, Puseyaeth, a Finneyaeth.

Pabyddiaeth.—Nid yw yn ymddangos iddo droi ei feddwl gymmaint at ymdaith Eglwys Rhufain yn y canol-oesoedd, ond sylwai yn benaf ar ei chyfodiad haerllug, dichellgar, a gwaedlyd, mewn canlyniad i ymlygriad yr Eglwys yn y canrifoedd cyntaf o'r cyfnod Cristionogol, ac yn benaf oll ar ei harwyddion yn y blynyddoedd hyn; yr oedd yn gyfarwydd â gweithiau amryw o'r awdwyr a ysgrifenasant ar y pwnc megis *Reader*, *Fleming*, *Fletcher*, ac ereill; darllenodd ryw faint o "*Elliott's Delineations of Romanism*," *&c.;* ond i brophwydoliaethau Ezeciel a Ioan yr ymgyrchai amlaf, a defnyddiai bob newyddiadur a ddelai o fewn ei gyrhaedd, nid

i wybod pris y farchnad, na dim o'r fath, ond i ganfod symudiadau y bwystfil; pan yr ymaflai mewn papur newydd, nid oedd ei ymchwiliad yn gyfyngedig i Gymru, nac ychwaith i Loegr, edrychai tu draw i derfynau Prydain, tramwyai ei feddwl am wythnosau a misoedd dros gyfandir Ewrop, gan wneyd ei hun yn gyfarwydd â'r Llywyddion y Cadfridogion, y Prif Weinidogion, a'r Amherawdwyr, ac yn neillduol y Cardinaliaid; gwnai ei gartref yn y Palas, y Senedd, y Brenindŷ, ac felly yr oedd yn medru ffurfio barn lled gywir am y cynnydd neu yr adfeiliad a allai fod ar y grefydd hon. Ond er y tramwyai yn mhell i gael golwg ar weithrediadau y dyn pechod, edrychai yn fanwl o'i gwmpas, a chanfyddai, er ei alar, lawer o arwyddion fod yr anghenfil sy wedi dinystrio ei filiynau tu draw i'r môr, eisoes yn gwneyd brasgamau chwyrn a beiddgar yr ochr hyn. Sylwai ar Babyddiaeth yn ei natur, ei thuedd, a'i gweithrediadau, yr hyn oedd yn ei wneyd yn abl i lefaru yn ei herbyn yn wresog, ar dir diogel, heb fod yn agored i syrthio i ddall-bleidiad na phenboethni; medrai adnabod y lledrith Pabyddawl yn Mhrydain yn gystal ag yn Itali,—o dan goban ddû fel o dan hosanau cochion;—nid oedd y meddwl uchelfrydig,—yr ymchwydd hunanol,—y duedd at flaenafiaeth yn mhob cymdeithas, yn un rhwystr iddo arogli Rhufain allan o gyfodiad y cyfryw ddrygsawr, pa un ai mewn Eglwys Gadeiriol neu mewn Capel Ymneillduol y torai allan y cyfryw arwyddion; nid oedd gan *swn* y gair *Protestant* un effaith hudawl ar ei glust ef, er peri iddo gamddeall y berthynas oedd rhwng traethu mawrhydri mewn un sect ag honiad o anffaeledigrwydd yn y llall; ond tra y methai rhai adnabod Pabyddiaeth, ond yn unig lle y byddai proffes o gysylltiad â chrefydd y Pab, taflai Mr. H. bob proffes o'r neilldu, i gael barnu pawb wrth eu hegwyddorion a'u hymarferion. Edrychai ar Eglwys Rhufain, nid fel gwraig anniwair yn unig, ond yn hytrach fel mam!—"Mam

puteiniaid,"—nid gwraig ddiblant, ond mam lliaws o ferched; a'i farn ef ydoedd, fod y cyfundebau hyny, pa un ai Pabaidd ai Protestanaidd o ran proffes, a ŵyrant o lwybrau y gwirionedd, mewn daliadau athrawiaethol,—mewn buchedd dduwiol, —neu ddysgyblaeth yn ol gair Duw, yn disgyn i berthynas plant â'r hen fam.

PUSEYAETH.—Ni bu traethodau y Dr. Pusey yn gorwedd fawr amser heb eu chwilio gan Mr. H. Yr oedd, oddiar arwyddion yr amseroedd, wedi dysgwyl i rywbeth o'r fath ymddangos cyn i'r Doctor wneyd ei ddaliadau yn hysbys, a phenderfynodd yn lled fuan nad oedd Puseyaeth ond prawf ychwanegol o fod Prydain Fawr yn un o'r deg corn a roddasant eu nerth a'u hawdurdod i'r bwystfil, a chwedi meddwi ar win puteindra y butain, fod y deyrnas hon, yn undeb y galluoedd ereill, yn myned i gynghrair o'r newydd â Rhufain, yr hyn a olygai pan y dywedai mor fynych, "Mae nhw'n myned yn ol i Rufain yn *fast.*" Ond nid y Puseyaeth a derfysgai y werin yn gyffredin a'i blinai ef gymmaint, gallai cynnulleidfa *Mr. Bennett* ei anrhegu â chroes arian a chanwyllbrenau, ar ei ymadawiad ag Eglwys St. Barnabas, faint a fynent, ac mor aml ag yr ewyllysient,—nid chwidreddau plentynaidd Puseyaeth, megis gwisgoedd coegwych, ac addurniadau dianghenrhaid, canwyllbrenau, arluniau, a llun y groes, oeddynt ei ddadl-byncian ef yn erbyn y grefydd hon; gwrandawai ar bawb yn dweyd eu golygiadau, holai ereill, ond gwyddai y ffordd i ddifynio y pethau mwyaf eu pwys allan o bob hanes, a welai ac a glywai, gan ddwys ystyried yr heresi yn ei arwyddion mwyaf peryglus; dywedwyd wrtho unwaith fod *Punch* wedi arolygu *Tractariaeth* yn ddiweddar; "Dyma'i sylwadau, Mr. H.," meddai ei gyfaill wrtho, "Fe fydd y Taelwriaid cyn hir yn cynnal i fyny draethodyddiaeth y Dr. Pusey, y mae satan yn perswadio y byd i ymwadu â'r naill wagedd am y llall, gwagedd y byd am wagedd ofergoelus yr

Eglwys, ac ni waeth gan y diafol lawer pa un; ac y mae'r byd yn cael ei hudo i gredu ei fod yn caru athrawiaeth, pan nad yw yn caru ond gwisgoedd ceinwych a thlysau hardd." Ar wahân oddiwrth *sarcasm* y golygydd yn cysylltu y Dr. Pusey a'r Taelwriaid yn nghyd, y peth a lyncodd sylw Mr. H. ydoedd y drychfeddwl am ddyfais y diafol yn defnyddio heresi y Doctor, i drawsnewid y naill hudoliaeth am y llall, pan na welai y lluaws, o bosibl, ragor nâ'r watwareg gysylltiol â dull y golygydd yn trin y Doctor; dybenodd yr ymddyddan hwn â dymuniad Mr. H. i *Punch* a'i gyfeillion gael gras (fod ganddynt ddigon o ddawn eisoes) i fyned allan i bregethu yn erbyn *Tractariaeth;* fel hyn, er y golygai ef fod lluaws o ddefodau gwrthun mewn cysylltiad â Phuseyaeth, y rhai oeddynt yn arwyddion Pabaidd; eto, nid oeddynt hwy yn ei olwg ond pethau bychain wrth eu cymharu â daliadau *athrawiaethol* Puseyaeth,—o ran dau lin wedi ei taflu yn groes i'w gilydd ar lun croes, nid oedd ynddo ei hun yn waeth nâ llun crwn, a chan adael y pethau lleiaf, cyfeiriai ei saethau at bethau trymaf a mwyaf peryglus yr athrawiaeth; megis traws-sylweddiad,—adfywiad hen draddodiadau disail,—diystyrwch ar reolau y dwyfol ddatguddiad,—y clust-gyfaddefiad,—*(auricular confession,)*—sefydliad gwyryfdai, neu bethau cyffelyb, a gydwasanaethant tuag at ddwyn i mewn y gweddill o heresiau y bwystfil, ac yna y darostyngid y wlad o dan arglwyddiaeth y dyn pechod, a Christionogaeth wedi ei rhwymo o newydd yn ei gadwynau haiarnaidd ef; yr oedd Mr. H. yn poeni ei enaid cyfiawn wrth weled y fath arwyddion fod y wlad yn hoffi arluniau crefydd, yn lle ei hysbryd a'i bywyd; credai fod y byd crefyddol yn ymddarparu at wneyd derbyniad gwirfoddol o bob twyll a gynnygid iddo. Nid oedd Cowper yn mhell o'r un golygiad pan y dywedai:—

"Hear the just law—the judgment of the skies!
He that hates truth shall be the dupe of lies:
And he that will be cheated to the last,
Delusions strong as hell shall bind him fast."

FINNEYAETH.—Pan y dangosodd Finneyaeth ei gwyneb, mynodd Mr. H. wybod beth oedd yn ei chalon, a chafodd ei bod yn ymlygriad oddiwrth symledd y gwirionedd, o dan fantell o sel dros achubiaeth y byd, yr hyn a barai iddo arfer y dywediad hwnw yn aml, "Nid yw pob peth melyn yn aur." Gwelodd ogwyddiad at benboethni crefyddol fel effaith buan darlithiau Mr. Finney, a thra yr oedd Mr. Elias ac ereill yn llefaru yn llym yn eu herbyn yn y Gogledd, cyfododd Mr. H. yn y De, nid yn unig i draethu yn erbyn y gyfundraeth, ond i ragfynegi y canlyníad a ddeuai o honi, yr hyn, yn nghyd â phethau ereill a ragfynegwyd ganddo, a barodd i lawer ei gyfrif yn BROPHWYD, tra y beïid ef gan rai o arfer penboethni am ddweyd yn erbyn penboethni Finney, yr hyn a gyfrifir yn gyffredin yn erbyn pob cyffröwr, a gynhyrfa y wlad oddiar eiddigedd dros y gwirionedd. Y gwir yw, ei fod yn gynhyrfiedig, ac ni allai ymgadw rhag cynhyrfu y byd,—yr oedd am ddwyn allan holl nerth y peiriant i ymosod ar y drwg,—yr oedd yn ymddifad o ffydd yn y mesur byr,—ymegniai i ragflaenu y difrod a ofnai, fel dyn a welai dân yn yr ydlan, ac a gredai mai ofer a fyddai tywallt ychydig o ddefnynau o ddwr i'r dyben o'i ddiffodd, ond mai gwell fyddai gosod tânermig fawr bwerus i gyfarch y fflam, rhag i'r elfen gynddeiriog ysu yr ydlan i gyd. Aeth Mr. H. i Gyfarfodydd Misol a Chymmanfaoedd, gan ganu y gloch dân yn y manau hyny,—yna dygai allan ei ermig mawr wedi ei llanw o ddyfroedd gloywon y cysegr bob tro, a gollyngai allan ffrydiau grymus drwy bibellau y weinidogaeth, yn mhob pulpud lle yr elai; wedi parhau felly am dro, sef yn y blynyddoedd 1837, 8, a 9, dechreuodd ddarogan beth a fyddai ar ol hyny,—dywedai mai amcan y darlithiau moesol a'r cyfarfodydd diwygiadol, oedd llusgo dynion at grefydd, heb olwg ar gyfnewidiad cyflwr, ac y byddai'r llawrdyrnu wedi ei lanw ag ûs cyn hir. Dywedai mewn man, wrth ymdrin â'r geiriau, "A pheth yw

rhagorol fawredd ei nerth ef, tuag atom ni y rhai y'm yn credu, yn ol gweithrediad nerth ei gadernid ef,'' fel hyn:—
"Mae nhw'n gosod gallu moesol yn awr i fyny yn lle gallu Duw; mae Mr. Finney yn dweyd mai trwy allu moesol mae dyn yn cael ei ennill i gredu, ond ai gallu moesol a gododd Grist oddiwrth y meirw? Pa bryd y clywwyd fod yn bosibl rhesymu y marw allan o'i fedd? Na, 'does ond y gallu a gododd Grist oddiwrth y meirw, a *all* wneyd i bechadur gredu." Dywedai yn Nghymdeithasfa Llangeitho unwaith, "Nid yw yr Ysbryd Glân yn cael digon o le yn y pulpud, nac yn ein Cymdeithasau, nac yn un man arall, y dyddiau hyn; yr wy'n rhyfeddu weithiau i'r ail Berson ddyfod i'n natur ni, ond yr oedd y natur hono yn lân; yr wy'n rhyfeddu mwy fod yr Ysbryd Glân yn dôd i breswylio i galon aflan pechadur;'' yna â llais a dreiddiai drwy y bobl, nes y disgynai rhyw eneiniad disymmwth ar bawb, dywedai, "*O'r Ysbryd Glân! o'r Ysbryd Glân!*" nes oedd yr holl gynnulleidfa fel pe cyfranogent yn helaeth o'r un teimlad nefolaidd a dorai allan o'i fynwes ef ei hun. Dywedai ar dro arall mewn man, "Y mae dyn wedi myned i gadair y Goruchaf,—y maent wedi cymmeryd y swydd o argyhoeddi pechaduriaid o law yr Ysbryd Glân, ac yn ceisio troi y byd â'u dwylaw moelion eu hunain; ond mae nhw'n *ffaelu* gwneyd dim ond creu rhagrithwyr wedi'r *cwbwl;* yr wy'n credu mai pan ddel efe, mai efe a argyhoedda y byd, *markwch!* os na ddaw gŵr y tŷ i'n galw ni i gyfrif am y pethau hyn, O! mae'm enaid i bron myn'd o fy nghorff wrth feddwl am *impudence* yr oes yma." Ar brydiau dywedai, "Mae rhyw ledrith o uffern wedi ymdaenu dros y wlad,—mae'r oes yma yn myn'd yn gnawdol, a dynion cnawdol fydd cyn bo hir wrth y llyw,—*chi* gewch eu gwel'd nhw yn gwthio yn mlaen i bob man,—os na ddaw hi'n dro nhw ddringan i'r pulpud a phob man, a'r gogoniant wedi cilio i riniog y tŷ." Ar droion

ereill dywedai, "Y mae arwyddion o bethau ofnadwy i gymmeryd lle; mae corff crefydd yn cynnyddu, a'i enaid yn gwanhau; mae pethau lleiaf crefydd yn gyru y pethau mwyaf pwysig ymaith, a'r oes yma wrth y miloedd yn cael eu cario i ddinystr dan ganu. Darfu iddo ragfynegi y pethau uchod fel drygfyd a ddeuai ar yr eglwys, er ys uwchlaw deng mlynedd yn ol, a bu fyw yn ddigon hir i weled y cyflawniad o'r drygau hyny i raddau mawr;—ei farn yn y blynyddoedd olaf o'i fywyd oedd, y byddai y dirywiad yn fwy canfyddadwy eto, ac y gwelid rhwysg penrhyddid crefyddol mor gryf, nes taflu dysgyblaeth bur i'r heol, ac y byddai yn beryglus i'w hamddiffyn, am na oddefid athrawiaeth iachus;—ymdeimlai yn fwy hyfryd gydag ychydig enwau yn Sardis, y rhai ni halogasant eu dillad, nâ chyda lluaws o ddynion cnawdol heb eu cyfnewid,—nid oedd dim a fynai a rhifo'r bobl,—edrychai ar y dylifiad mawr i'r eglwysi mewn canlyniad i'r ddyfais Finneyaidd, i'r dyben o wneyd rhif, fel yr edrychai Ioan Fedyddiwr ar y llawer hyny a ddaeth i'w fedydd ef, i'r rhai y gofynodd, "O, genedlaeth gwiberod, pwy a'ch rhag-rybuddiodd i ffoi rhag y llid a fydd?" Y mae y bobl mwyaf craff, a sylwent ar y cyflawniad a ddaeth o'r hyn a lefarodd er ys llawer o flynyddoedd yn ol, yn ofni y gwelant ddydd cymylog a niwlog mewn canlyniad i sylwadau a wnaeth ........ o fewn ychydig fisoedd i'w farwolaeth.

Nid oedd Mr. H. yn yr arferiad o draddodi pregethau penodol ar y naill na'r llall o'r cyfeiliornadau a enwyd, ond yr oedd yn feddiannol ar ddigon o ddyfais, (yr hon, fel y dywed Syr Joshua Reynolds, yw y nôd amlycaf o athrylith,) i ollwng allan ei ergydion at unrhyw heresi o ganol pob mater, heb berygl i'w gymylu; pan ffodd y Pab i *Gaeta*, ni ddarfu iddo gymmeryd wythnos i astudio pregeth ar lewygfa ei *Anffaeledigrwydd*, ond yr oedfa gyntaf a gafodd, dygodd y mater o dan sylw, a thra yr edrychai llawer ar yr amgylchiad

fel ernes o ryddid gwladol helaethach, heb ddim pellach, yr hyn a gredai Mr. H. hefyd, eto, efe a edrychai arno â golwg mwy ëang, sef ei fod yn gyflawniad rhanol o fygythion Duw, ac yn ernes o ddymchweliad yr holl gyfundraeth Babyddol; dywedai yr amser hyny, "Y mae Babilon i ddod i lawr; os bydd dynion yn colli eu parch a'u dylanwad gartref, ni fyddant yn hir cyn ei golli yn mhob man; y mae y Pab yn colli ei barch gartref, ar ffyn-baglau pydron y mae yn sefyll rywfodd." Yna, gan ysgwyd y Bibl, yn arddangosol o gleddyf yr Ysbryd, gwaeddai allan, "Gogoniant! y mae Duw yn dod, un o'r dyddiau nesaf, i daro yr hen *brop* i lawr, ac yna fe waedda'r Angel, Babilon a syrthiodd fel maen melin i eigion y môr; *gobeithio* ca'i fyw i'w glywed yn rhoi'r floedd, ac y ca'i bregethu *funeral sermon* i Babilon fawr." Gwelai frwydr Armagedon rhyngddo a'r dydd hwnw, er fod arno hiraeth i weled amser y Jubili fawr.

O herwydd ei barodrwydd i lefaru yn erbyn pob peth a gyfrifai yn wyrni oddiwrth wirionedd yr Efengyl, edrychid arno fel dyn plaid, ond diffyg adnabyddiaeth ddigonol o hono a barai hyny yn ddiau;—ni bu neb yn fwy cywir nag ef i ganmol yr hyn oedd dda yn mysg cyfundebau ereill,—ac i gondemnio yr hyn oedd ddrwg yn ei gyfundeb ei hun; arolygai yr holl fyddin, ac edrychai ar Gristionogion y byd fel aelodau cyfundeb anwahanedig; dywedai yn Nghymdeithasfa y Casnewydd, ei fod yn cael ei gymhell y dyddiau hyny i weddio dros bawb, ac â'i freichiau wedi eu taflu ar led, dywedai, "Yr wyf yn teimlo ysbryd Catholic yn ymgynhyrfu o'm mewn; nid dros ein cyfundeb ni ein hunain yr wyf yn gweddio, ond dros yr enwadau ereill hefyd." Yna, wedi enwi yr enwadau Ymneillduol a'r Eglwys Sefydledig y byddai yn gweddio dros eu Gweinidogion yn agos fel y gwnaeth yn Liverpool;* dywedai, "Treuliwch, treuliwch ambell i dair

* Gwel hanes Cymdeithasfa Liverpool, Pen. X.

awr i weddio; mae arnom eisieu cael meddwl ëang, i *expando* mewn dymuniadau dros yr holl saint; tynwch gylch digon ëang, fy nghyfeillion i."

---

# PENNOD X.

## AMRYWION.

**Pregeth Mr. Howells yn Nghymdeithasfa Aberystwith, Ebrill, 1846—Pigion o'i Anerchiadau yn Nghyfarfod Cymdeithas Heddwch yn Nghastellnedd, ac yn Nghymdeithasfa Liverpool—Ei ymweliadau â'r Parch. JOHN EVANS, Llwynffortun.**

---

## PREGETH.

Psalm cxix. 71.—"**Da yw i mi fy nghystuddio; fel y dysgwn dy ddeddfau.**"

---

Yr oedd Martin Luther yn dweyd fod llawer Cristion wedi dysgu mwy mewn chwech wythnos o gystudd, nag mewn chwe mlynedd o'r ysgol oreu. "Mawrheaist dy air uwchlaw dy enw oll:" pan y mae ei blant yn gŵyro neu yn crwydro oddiwrth y gair, mae e yn gyru cystudd i'w galw yn ol. Ni fynai rhai o honom er dim fod heb y cystuddiau ag sydd wedi ein cyfarfod. Y profiad mewn gorthrymderau,—yr ymweliadau,—*receipts* mawr ei Ragluniaeth ydynt; ond nid yw y rhai hyn da i bawb,—y maent yn dda i ni, os gallwn ni ddweyd "da." "Yr un ddamwain a ddygwydd i'r cyfiawn a'r anghyfiawn."—Darfu i'r ystormydd diweddaf yru llawer llong i'r porthladd, ond taflwyd ereill ar y creigiau. Mae cysuron y saint yn flaen-brawf o gysur y nef; gofidiau yr annuwiol yn flaen-brawf o drueni uffern. Mae melldith Duw yn nhŷ yr annuwiol. Mae Duw yn rhoi aur ac arian wrth y cannoedd a'r miloedd i'r annuwiol yn ei anfoddlonrwydd,—yn rhoi Twrci i Mahomet, fel asgwrn i gi. Fe aeth y gwr goludog o

* Ysgrifenwyd y bregeth hon pan yr oedd Mr. H. yn ei thraddodi. Gwel y cyfeiriad yn llythyr Mr. Charles, Pen. XII.

lawnder i dlodi tragywyddol,—o wely o "*down*" i wely o dân. Neges rhai yn y byd yma yw hèl cyfoeth i'w plant, fel pe byddai Duw i fod yn *fankrupt* yn yr oes nesaf. Mae gan rai ormod o *sails* i'w llestri, a rhy fach o *falast.* Mae arnaf fi ofn fod y llwyddiant presennol ar fasnach yn *farnol.* Mae hi yn berygl bywyd ar yr ystrydoedd yn y gweithfëydd y dyddiau yma. Mae'r bobl yn gwneyd trugareddau Duw yn *shutters* i gau Duw allan, yn lle yn ffenestri i weled Duw trwyddynt,—yn *risiau* i fyned i lawr i uffern, yn lle i esgyn i fyny at Dduw mewn mawl. Maent yn *loado cannons* Rhagluniaeth i saethu yn ol at Dduw. "*If God's mercies are not loadstones to draw thy soul to Christ, they will be* MILLSTONES *to sink thee to hell.*" Mae gweinidogaeth yr efengyl yn foddion i galedu llawer. "*Sermon proof and gospel hardened,*"—dyna fel y mae'r bobl y dyddiau hyn. Ni fu erioed fwy o ragrith nag yn yr oes hon. Mae'r bobl yn bwyta damnedigaeth yn y swper santaidd, wrth y miloedd. Mae yr haul yna yn niwed i lygaid gweinion,—y mae e yn toddi rhai pethau, ond yn caledu y clai; felly nid yw cystudd ddim yn dda i bawb.—Nid yw ddim yn dda yn ei natur,—nid yw ddim yn dda yn ei achos, sef pechod,—nid yw ddim yn dda yn ei effaith yn aml,— mae yn peri tuchan ac anghysur mawr,—nid yw ddim yn dda yn ngolwg dynion yn gyffredin, ac y mae dynion duwiol yn aml yn dyrysu am hyn. "Yn fy erbyn i y mae hyn oll," meddai un; a dim rhyfedd ychwaith ei fod yn dweyd felly. Yr wyf fi yn gweled mwy o Dduw yn hyn nâ dim,—ei fod yn tynu y daioni mwyaf o'r drwg mwyaf. Yr oedd Job yn gallu dweyd, "Bendigedig fyddo enw yr Arglwydd,"—ond dyna y *class* uwchaf yn ysgol Iesu Grist: eto, yn niwedd yr oruchwyliaeth, fe felldithiodd yntau ddydd ei enedigaeth, a'r nesaf peth at felldithio Duw oedd hyny. Mwy o ddiolch i Dduw a'i ras, nag i Job a'i amynedd; eto, dylem gydymdeimlo â'r rhai y mae Duw yn eu trin fel hyn. Ond *da* i'r

Cristion gael ei gystuddio, ac nid yn unig *da* yn ddyoddefol, ond yn weithredol. Peth mawr yw gallu dàl pob cyflwr. "Na ddyro i mi na chyfoeth na thlodi." Dacw ddoethineb Ahitophel yn ffolineb,—parch ac anrhydedd Herod yn dybenu yn ei ddystryw. Mae y cyflwr fel y môr, yn troi pob afon a rêd iddo yn hallt fel efe ei hunan. Peth mawr yw cael *constitution* i ddàl pob *climate*,—llefwch am gyfansoddiad i ddàl *climate* carcharau a ffagodau, &c. Mae llawer yn dyfod allan o'u cystuddiau fel yr un y mae Bunyan yn sôn am dano,—yn dyfod allan ar yr ochr nesaf i ddystryw; ond y mae y Cristion yn siwr o ddyfod allan yr ochr nesaf i'r nef. Y mae yn dda weithiau myned oddiwrth ragluniaeth dywell at y gair. "Dedwydd yw yr hwn a geryddir gan yr Arglwydd." Mi a ddarllenais fod yn mhlith y philosophyddion paganaidd, gant a hanner o ffyrdd i fod yn ddedwydd, ond dim un trwy garcharau a dyoddefiadau. Dedwyddwch y *ffordd* yw hwn, ac nid dedwyddwch *pen y daith.* Ond diolch, os anialwch yw hi yma, yr ochr draw cawn ganu yn braf,

"O fryniau Caersalem ceir gweled
Holl daith yr anialwch i gyd," &c.

Ond y mae *edrych ar y bryniau o'r anialwch* o'r un natur a llawn cystal, ond ei fod yn fyrach parhad, ag yw edrych ar yr anialwch o'r bryniau. Mae Satan weithiau yn peri i bob gwynt chwythu ar y Cristion er ei ddyfetha, ond y mae y Nefoedd yn bwriadu yn wahanol. Y mae ei Dad yn eistedd wrth enau y ffwrn, ac yn dyfod â'r Cristion allan "wedi ei buro."

"Darfu'n noddfa mewn creadur,
Rhaid cael noddfa'n nes i'r nef."

Pan oeddwn i yn Llundain, mi a gefais fy mhoeni yn fwy nag erioed gan y diafol. Yr oedd yn dyfod bob boreu i'm 'stafell â *bwndel* mawr o Rufain, ac weithiau un arall o Gymru, ac yn eu *hunpacko* o'mlaen, ac yn rhoi *lectures* arnynt, nes y

bum *i* bron â dyrysu;—ond, diolch am danynt, gwelais fwy o werth nag erioed yn ein Harch-offeiriad mawr, "yr Hwn ni âd eich temtio uwchlaw yr hyn a alloch," &c.

Diolch!—Mae Duw yn gweled y diwedd o'r dechreu,—pob *wheel* yn ei lle, y *fly-wheel* a'r *cwbwl*. Yr *oeddwn i yn arfer tori plans* i mi a'r plant, ond cefais ddigon ar hyny; yr oedd 'Duw yn eu dryllio hwy i gyd.' Mae llawer o'r plant am *garvo* iddynt hwy eu hunain, ond y maent yn tori eu bysedd wrth hyny; ac y mae rhai am eistedd yn y *parlwr* gyda'r meistr, yn lle gweithio *gwaith* y meistr; ond y mae cariad, yn gystal â doethineb, yn gweithredu. Dy les, Gristion, sydd mewn golwg yn y cwbl. Fe all'sai dy Dad nefol dy gymmeryd i'r nefoedd mewn cerbyd o dân, heb i ti wybod dim am rwystrau, na thlodi, na chystudd, &c. Ond diolch, mae afiechyd corff yn *lles* i enaid,—colli priod yn gwneyd i ti, Gristion, i anwylo dy Dad yn fwy. Gwelwch *ddiwedd* yr Arglwydd. Jehofa yw yr *Actor* penaf ar y *stage*, er ei fod o'r tu ol i'r *curtains*; ond fe fydd gorfod ar Satan i *gwito'r play* pan ddaw Duw i'r golwg. Mae y Cristion yn tynu cysur, yn 1af, O gyfammod Duw;—2il, O addewidion Duw;—3ydd, O briodoliaethau Duw. Byddai Luther mewn cyfyngder yn canu y 46fed Psalm. Gristion, mae genyt Dduw yn *Dad* i ti, yr eglwys yn *fam* i ti, a Christ yn *frawd* i ti, ac angeu heb golyn,— pob gwynt yn dêg i'r bywyd tragywyddol. Immanuel, Duw gyda ni mewn cnawd,—golud Calfaria,—y gyfryngdod fendigedig—y feichniaeth,—y freniniaeth.—"Ac a ddarostyngodd bob peth dan ei draed ef, ac a'i rhoddodd yn ben uwchlaw pob peth i'r *eglwys*." Ein *brawd* yw, gyfeillion,

"Ac y mae'r cwbl sydd mewn bod
Dan ei awdurdod ef!"

Pan oeddwn i yn Llundain, yr oeddwn i yn gweled enwau ar rai o'r 'strydoedd, megis *Silver Street*, *Golden Crescent*, *&c.*; ond, dyma hwy mewn *profiad*. O! drefn Duw yn cynnal

mewn ystormydd! Beth yw cyfoeth y ddwy India at hyn? Mae *dirmyg* Crist yn fwy nâ *golud* yr Aipht. Mae'r *philosópher's stone* yn meddiant y Cristion, sydd yn troi pob peth yn aur pur,—yn gwneyd trefn o gymmysgedd,—creadigaeth o *chaos*,—*harmony out of discord*,—cyfoeth o dlodi,—*Jubili* o gaethiwed.—angeu yn elw. Mae yn cael mêl o 'sgerbwd yr hên lew,—yn peri i falais Judas fod yn iechydwriaeth i'r byd. Dacw'r pysgodyn yn llyncu Jonah,—yr oedd yn meddwl fod darfod am dano,—ond gorfod arno ei daflu ar dir sych wedi hyny; felly fe fydd gorfod ar yr hên forfil angeu i daflu y Cristion yn *safe ashore* i'r hafn ddymunol. Yr wyf yn cofio am ryw ddyn da a *safiwyd* rhag boddi, wrth ddyfod ar gefn *dolphin* i dir sych. Ni waeth gan ein Duw ni pa un ai *inside* neu *outside passenger*, ond cael ei blentyn yn *safe ashore*. GOGONIANT! fe'th fyn di adref yn ddiogel, blentyn!

CYFARFOD CYMDEITHAS HEDDWCH YN NGHASTELLNEDD.

Yr oedd cyhoeddiad Mr. Howells, er ys amryw flynyddoedd yn ol, yn y dref uchod, ar nos Cyfarfod perthynol i Gymdeithas Heddwch, yr hwn a gynnelid yn Nghapel y Methodistiaid; dywedwyd wrtho fod bwriad iddo gymmeryd rhan yn ngwaith y Cyfarfod hwnw, gwrthodai yntau yn mhob modd, a'i esgusodiad oedd, ei fod heb arfer llefaru ar y fath achos; hysbyswyd i'r Cadeirydd, sef Mr. Price, meistr gwaith y Fynachlog, fod Mr. H. yn nhŷ y capel, a'i fod yn gwrthod dyfod i mewn; danfonodd Mr. Price ddau wr allan â'r genadwri fod yn rhaid iddo ddangos ei wyneb, ac ar ol cryn lawer o ymesgusodi, dygwyd ef rhwng y ddau i'r Capel; yr oedd cenadwr *(deputation)* y Gymdeithas ar y pryd yn traddodi, ac ar ei ol, galwai y Cadeirydd ar Mr. H., a gorfu iddo gael help rhai o'r cyfeillion i'w godi ar ei draed; o'r diwedd dechreuodd siarad, a dywedai mai nid peth o anghen-

rheidrwydd naturiol oedd rhyfel, ond ei fod yn arwydd o farn Duw ar ddynion a gwledydd; dangosai y galanastra ofnadwy oedd wedi cymmeryd lle mewn cysylltiad â rhyfeloedd yn mhob oes, gan olrhain hanesyddiaeth yr oesoedd am yr amrywiol frwydrau Iuddewig; cyfeiriai at y gwahanol ryfeloedd cartrefol, nes o'r diwedd ddyfod at frwydr y *Chartiaid* yn y Casnewydd, o'r hon y bu efe yn lygad-dyst; galwai y rhai hyny yn gynnulleidfa o anffyddwyr, a dywedai eu bod yn wrthryfelwyr yn erbyn rhagluniaeth Duw; llefarai weithiau yn Gymraeg, bryd arall yn Saesoneg; a phan ar roi i fyny i foneddigion ereill a feddent gymhwysderau helaethach i drin y pwnc, fel y dywedai, dechreuai y Saeson waeddi o wahanol ranau o'r tŷ, "*Go on, go on,*" a'r un modd y Cymry; ac yn mlaen yr aeth, nes o'r diwedd troai at y Cadeirydd, gan gau ei ddwrn, (nid mewn dig,) a dywedai ei fod wedi blino ar yr hên ddaear hon, ac mewn gwres a bywiogrwydd mawr, a'r holl dŷ yn hwylus, "*I am looking forward, Sir,*" ebe fe, "*for new heavens and a new earth, wherein dwelleth righteousness;*" aeth nerth allan gyda'r geiriau, fel pe buasai mellt yn gwibio drwy yr holl gynnulleidfa, ac yn nghanol y cyffröad, eisteddai yntau i lawr.

## CYMDEITHASFA LIVERPOOL.

Yn Nghymdeithasfa Liverpool, ar foreu dydd Llun y Sulgwyn, 1850, chwythodd awel nefolaidd a nerthol iawn, ar y gynnulleidfa yn Nghapel mawr *Bedford Street*, yr hwn oedd orlawn o aelodau gwahanol eglwysi y dref. Testun y cyfarfod oedd "Adfywiad Crefyddol;" pan y galwodd y Cadeirydd ar Mr. H., safodd i fyny, a thaflodd ei fraich o amgylch ei ben gyda'r gair cyntaf, a dywedai, "Yr wyf wedi bod yn troi o gwmpas yr Adfywiwr mawr ei hun, sef yr Ysbryd Glân; y mae gormod o *bictwrau* y dyddiau yma; yr *own* i'n dweyd ynof fy hun, 'Wel, pan ddel efe, ni gawn amser hyfryd; ïe, ni gawn John Calvin eto, ni gawn Martin Luther eto, ni gawn

John Elias eto, ni gawn Ebenezer Morris eto;' nid y gwŷr eu hunain, i *chi'n* dyall, ond rhai tebyg iddynt, a rhai o'r un ysbryd â hwynt. O amser dedwydd! O amser dedwydd! Pryd hyn bydd y llesgaf fel Dafydd, a Dafydd fel Angel Duw;—llewyrch y lleuad fel llewyrch yr haul, a llewyrch yr haul fel llewyrch saith niwrnod; O na ddeuai yn fuan iawn, yr wyf yn gweddio am iddo ddyfod, ac yr wyf am i *chi* ddyall nad wyf yn *barty-man;* yr wyf yn gweddio, *yn wir*, dros yr holl enwadau crefyddol sydd yn ein gwlad; dros yr Independiaid, a'r Wesleyaid, a'r Bedyddwyr; ac yr wy'n cofio yn fy ngweddiau am Esgobion Eglwys Loegr, a'r Arch-esgobion, a'r Deoniaid, *ac felly yn y blaen;* ac mi ddangosaf i *chi* beth yw fy *Nghommon Prayer* y dyddiau hyn,—yr hen bennill gwerthfawr hwnw,

"Dros y bryniau tywyll niwlog,
Yn dawel, f' enaid, edrych draw,
Ar addewidion sydd i esgor
Ar ryw ddyddiau braf gerllaw;
Nefol Jubil,"

Gyda'r gair "nefol jubil," tarawodd ei ddwylaw yn eu gilydd, ac aeth yn floedd fawr dros y tŷ mewn mynyd, a'r llinell olaf a gipiwyd gan y gynnulleidfa,

Gad im' wel'd y boreu wawr."

Dygwyddais fod yn bresenol yn y Gymdeithasfa uchod. Yr *olygfa* oedd yr hyn a effeithiodd fwyaf ar fy meddwl i, ac ni allwn ei chyffelybu i ddim yn well, nag ergyd dirybudd allan o ddryll, mewn adeilad cauedig, yr hwn a adawai gwmwl o fŵg ar ei ol;—rhedodd rhai oddiar yr heol i'r Capel, pan yr aeth y floedd allan, gan feddwl fod yr adeilad ar dân; yr oedd yno dân yn ddiau, a gynhesodd lawer calon oer, heb i neb na dim gael niwed, oddieithr i *lace veils* amryw foneddigesau gael eu difwyno ychydig, gan y ffrydiau dagrau oedd yn disgyn arnynt.

## YMWELIADAU MR. HOWELLS A'R PARCH. JOHN EVANS, LLWYNFFORTUN.

*Yr Ymweliad cyntaf.*—Yr oedd Mr. H. yn pregethu ryw dro yn Mhentwyn,* ac ar ddiwedd yr oedfa gofynodd i Mrs. Evans am hynt ei phriod parchedig. "Lled wael, Syr," ebe hithau; "a welwch chwi fod yn dda i ddyfod i'w weled?" "O gwnaf," ebe yntau, ac i'r tŷ yr aethant; a chyda fod Mr. H. yn nrws yr ystafell, estynai Mr. E. ei law, ac yn ei ddull serchog, dywedai, "*O, how do you do, my dear Sir, and how are the friends at Tredegar and all about Monmouthshire? Please to sit down, my dear Sir.*" Wedi eistedd i lawr, ac ymddyddan rhyw faint yn nghylch dolur Mr. Evans, ac am yr achos yn gyffredinol, a'r ddau yn myned yn mlaen â'u hymddyddanion, un bob ochr i'r tân, yn eithaf cysurus, dechreuodd hynodion Mr. Evans dori allan, a chan ymuniawnu yn y gadair, a syllu yn graff ar *gareg yr aelwyd*, yn ddisymmwth dywedai wrth Mr. H., "A welwch chwi fod yn dda i dynu eich traed atoch, *my dear Sir;* yr ydych yn cadw mwy nâ hanner careg yr aelwyd, ac y mae hyny yn afresymol." "Na, na," ebe Mr. H., "nid oes genyf fi ddim mwy nâ'i hanner hi, pe bai'r byd yn barnu." Wedi trefnu lle'r traed, aeth yr ymddyddan yn mlaen eilwaith, nes i'r amser ddyfod i ben pan yr oedd yn bryd i Mr. H. gychwyn, a chwedi ysgwyd dwylaw, ymadawsant.

*Yr ail Ymweliad.*—Daeth Mr. H. i Bentwyn i bregethu eilwaith, ac aeth wedi'r cyfarfod i weled Mr. E., fel y tro o'r blaen; dywedwyd wrtho fod Mr. H. yno, ac ymddangosai yn llon i glywed, a dywedai wrth ei wraig, "Y mae yn dda iawn genyf ei fod wedi dyfod; gelwch arno i ddod i fyny, druan," ac felly y gwnaed. Pan oedd Mr. H. ar waelod y grisiau, rhybuddiodd ef Mrs. E. i beidio ofni. "Y mae genyf beth i ddweyd," ebe fe, "wrth yr hen frawd; nid wyf wedi anghofio

* Cartref Mr. Evans wedi iddo ail briodi.

careg yr aelwyd." Erbyn iddo fyned at y drws, yr oedd y cyfarchiadau mwyaf boneddigaidd yn ei gyfarfod oddiar ben y gobenydd, pryd y neshaodd Mr. H. at erchwyn y gwely heb ddweyd gair cyn taro ei droed ar y llofft, yna taflai ei freichiau ar led, a'i ddwylaw o amgylch ei ben, ac edrychai yn wyllt iawn, a dywedai, "Rhyw fyd ofnadwy yw y byd hwn, mae y Pab o Rufain, a'r Doctor Pusey, a'r cythraul, yn *drivo'r* bobl wrth y miloedd tuag uffern, a Mr. Evans yn y gwely; mae Seintiau y dyddiau diweddaf fel C—— ar hyd y wlad, a *chitha'n* gorwedd man hyn." Yna dechreuodd Mr. E. ymysgwyd ac agor ei lygaid mawr, ond nid oedd cyfleusdra iddo ddweyd gair, am fod Mr. H. yn nghanol ei gyfarch. "Dewch i lawr, y dyn," meddai; "os na wnewch *chi* godi, fe ddaw y Pab o Rufain i'ch *rouso;* dewch i lawr, y dyn, a wnewch *chi?*" Yr oedd Mr. E. erbyn hyn yn synedig a gwyllt yr olwg, a dechreuodd ofyn gyda thaerineb mawr, "Beth sy, druan? Beth sy, druan? Beth sy, druan? Ah! Oh!—Rachel, Rachel, pa le mae fy *slippers* i?" dygwyd y *slippers,*—ymddyddanwyd ychydig yn mhellach, ac ymadawodd Mr. H. Yn mhen ychydig amser, aeth Mrs. E. i weled pa fodd yr oedd ei phriod yn teimlo ar ol y fath ddarlith, a dywedai wrtho, "Rhyw ddyn hynod yw Mr. H. yna, onite, Syr?" "O, ïe, druan," ebe yntau. "Dyn Duw yw hwna! Dyn o enaid mawr! Dyn eryraidd iawn ei olygiadau! O, a ddarfu i chwi sylwi, druan, a ddywedodd e fy mod i yn annuwiol neu beidio?" "O, na ddo, Syr, ni ddywedodd ddim o hyny," oedd yr ateb." O, yr ydych yn meddwl na ddywedodd e ddim o hyny?" "Yr wyf yn sicr na ddywedodd ddim o'r fath beth, Syr," oedd yr ateb. "O," ebe yntau, "y mae yn dda iawn genyf na ddywedodd e ddim fy mod i yn annuwiol; ond bid siwr, pe buasai yn dweyd, ni chredaswn i ddim o hono."

*Y trydydd Ymweliad.*—Yn mhen talm o amser, daeth cy-

hoeddiad Mr. H. i Bentwyn drachefn, i fod yno am ddeuddeg o'r gloch ar ddydd Gwener, ar ei ffordd tua Chaerfyrddin, ac ni esgeuluswyd hysbysu y newydd i Mr. Evans, a mawr o gyfrif a fu ganddo ar y dyddiau i wybod pa bryd y byddai y dydd Gwener hwnw, a dywedai wrth ei wraig y dydd blaenorol, "Y foru y mae yr oedfa, Rachel, onite?" "Ië, Mr. Evans," oedd yr atebiad. "Wel," ebe yntau, "y mae yn rhaid i ni ofalu codi yn fore, rhag i'r pregethwr ein dal yn y gwely; onide bydd yn waeth arnom y tro nesaf nâ'r tro diweddaf." Cododd dranoeth yn brydlawn iawn, ac aeth i'r Capel cyn yr amser. Fel yr oedd yn cerdded yn ol ac yn mlaen, cyfarfu Mr. H. ag ef yn y drws, a derbyniodd oddiwrtho gyfarchiadau cynhes iawn, fel hyn:—"*O, how do you do, my dear Sir; and what is the last news you have seen in the papers?*" Atebai Mr. H., "Y mae y Pab yn debyg o golli ei lywodraeth wladol, ac yna fe gyll ei lywodraeth Eglwysig, fe â'r bychan yn fil, a'r gwael yn genedl gref; dyna'r pryd y bydd Mr. Evans a minau ar gefnau ein ceffylau;" ac aeth yn llawenydd mawr wrth feddwl fod yr amser dedwydd yn neshau. "Y mae yn rhaid i chwi bregethu, Syr," ebe Mr. H., "O na, *my dear Sir,*' ebe Mr. E., "canys wrthych chwi y mae'r bobl yn dysgwyl, mi ddechreua i yr oedfa," ac felly y bu, a thestun Mr. H. oedd, "Y bychan fydd yn fil, a'r gwael yn genedl gref."

## PENNOD XI.

### TERFYNIAD OES MR HOWELLS.

Y Cyfarfod Misol olaf—Ei ddywediadau ynddo—Ei dduwiolfrydedd yn creu arswyd mewn teuluoedd—Addfedrwydd amlwg ar gyfer tymhor ei ymddattodiad—Ei glefyd olaf—Gwely angeu—Ei Farwolaeth—Ei Gladdedigaeth—Pregeth Angladdol gan y Parch. D. JENKINS.

ER addysg ac adeiladaeth i oesoedd a chenedlaethau y byd yr ysgrifenwyd cofnodion helaeth am ffydd ac amynedd, zel a

llafur cariad, y rhai fuant yn oleuadau yn eu dydd, a hyny mewn oesoedd tywyll a llygredig. Yn y llyfr ysbrydoledig y ceir hanes bywyd Abraham, Joseph, Job, a Dafydd, ac ereill, a'r peth diweddaf yn eu hanes hwy sydd yn awr i'w ddweyd am wrthddrych y cofnodion hyn:—"EFE A FU FARW." Pe ymddiriedasid llywodraeth allweddau angeu a'r bedd i ofal ein gwrthddrych, hwyrach y gallesid cael ychwaneg o'i hanes; ond er ei osod i orwedd yn y ddaear ar yr un dydd o'r wythnos â'i Feistr, ni ddaeth i fyny fel efe; gan hyny, er mor alarus y newydd, y mae yn wir, ac yn wir heb ddim i ychwanegu ato, "EFE A FU FARW." Y cwbl a ellir ei ddweyd am dano wedi'r diwrnod hwnw, a raid fod yn hanes amgylchiadol, am fod marwolaeth wedi cau ei enau, ac yntau yn gorwedd yn mro dystawrwydd.

Wrth ddarlunio dyddiau diweddaf dynion cyhoeddus, ceir achlysur yn lled fynych i ddweyd amryw bethau mewn cysylltiad â'u hafiechyd olaf, yr hyn a ddenfyn y bywgraffydd yn ol i ddechreu yr hanes amryw fisoedd neu flynyddoedd cyn dydd yr ymddattodiad. Ceir clywed am ddechreuad y clefyd,—ei gynnyddiad araf,—ei ymsefydliad yn ddolur ansymudol,—y Gweinidog yn teimlo pregethu yn faich,—methu pregethu onid unwaith y Sabboth,—yna unwaith mewn mis,—yn fuan yn myned yn rhy egwan i lefaru yn gyhoeddus,—aeth cyn hir i nychu a dihoeni,—ond o'r diwedd efe a fu farw. Bydd tymhor hirfaith o ymddattodiad graddol o'r fath yn dwyn i gôf lawer o amgylchiadau,—profiadau gwahanol y trengedig,—dywediadau tarawiadol o'i eiddo,—ei gynghorion i'w gyfeillion,—ei ddymuniadau gyda golwg ar grefydd,—a'i obaith yntau am adgyfodiad gwell. Ar yr achlysur hwn gellir dweyd y cwbl mewn ychydig eiriau, o herwydd darfod i'r Arglwydd weled yn addas i gymmeryd ei was ymaith heb ei adael yn y bwlch am ragor nâ thri diwrnod wedi gorphen ei waith cyn ei alw i dderbyn ei wobr; ond er

na chaethiwwyd ef o fewn ei dŷ, ac er nad oedd unrhyw adfeiliad gweledig ar ei gorff, gwanhâd yn ei lais, nac anmhariad yn ei gynneddfau, cyn yr wythnos olaf o'i fywyd, yr oedd yn amlwg fod rhyw addfedrwydd mwy ar ei ysbryd nag a welwyd o'r blaen, ar gyfer y cyfnewidiad mawr a gogoneddus yr oedd yn gwynebu arno: dangoswyd eisoes fod cysegriad ei enaid i'r Arglwydd mewn gweddiau ac ymbiliau yn un o'r pethau mwyaf amlwg ynddo drwy ei fywyd, ac ar derfyn ei oes, cyn fod un rhag-arwydd neillduol o symudiad buan i'w symbylu, na dychrynfeydd newyddion i'w frysio yn anghymmedrol, wele yr arferiadau hyny a'u hynodent fel Cristion o'r blaen, yn dyfod yn fwy amlwg nag erioed; y gweddiwr mawr yn gweddio mwy,—y pregethwr bywiog yn fwy tanllyd nag arferol,—ei ymddyddanion cymdeithasol o dan awchlymder miniog, fel y gorfodid y mwyaf caled i deimlo,—mewn gair, ei ymarferiadau crefyddol yn creu arswyd anarferol ar y rhai fyddent yn ei ŵydd. Yr oedd mewn man tua deufis cyn ei farwolaeth, ac ymddangosai i fod o dan wasgfa meddwl annysgrifiadwy, cwynai yn wylofus o herwydd yr olwg isel a dirywiedig a welai ar grefydd, a gofynai am le i ymneillduo ar ei ben ei hun, ac arweiniwyd ef i ystafell, lle y bu am ddwy awr mewn gweddi ddirgel. Y mae yn debygol, er cymmaint a gŵynodd wrth ddynion, ei fod wedi dywedyd mwy wrth Dduw nag wrth neb arall.

Nid anmhriodol fydd gwneyd crybwylliad yma am y Cyfarfod Misol olaf y bu ynddo, yr hwn a gynnelid yn Bethlehem, ar yr 2il a'r 3ydd o Chwefror. Sylwai ei frodyr a arferent ei gyfarfod mewn cynnadleddau o'r fath, fod gwahaniaeth mawr ynddo yn y Cyfarfod hwn, ei ysbryd yn fwy bywiog, a'i zel yn danbeidiach nag arferol. Mewn ymdriniaeth yn y cyfarfod cyffredinol, y prydnawn cyntaf, ar y geiriau yn Ioan xv, 2, "Pob cangen ynof fi heb ddwyn ffrwyth, y mae efe yn ei thynu ymaith," &c., sylwai Mr. H.

fod priodoldeb mawr yn y geiriau ar gyfer y dyddiau hyn. "Y mae y gair *tynu ymaith*," meddai, "yn arwyddo tynu ymaith yn ei lid, ac y mae lle i ofni fod rhyw dynu ymaith ofnadwy wrth y drws; a pha ryfedd os bydd i'r Arglwydd wneuthur felly *â miloedd o gangenau diffrwyth sydd mewn enw yn unig yn y winwydden ysbrydol yn Nghymru!*" Yna cyfeiriai at halogedigaeth y cysegr, yr hyn a ganfyddid yn yr ymarfer rhyfygus ag ordinhadau mewn ysgafnder a chnawdolrwydd, a dywedai gyda llais athrist, fel dyn wedi ei orlenwi ag eiddigedd santaidd dros enw yr Arglwydd, "*O'r fath olwg sydd ar ei dy y dyddiau yma!*" Gellid meddwl fod ei deimlad dros Sïon, a'i dristwch o herwydd y wedd a welai arni, yn peri i'w fynwes ddwyn rhyw fesur o brofiad Job,—"Pan edrychais am ddaioni, drygfyd a ddaeth: pan ddysgwyliais am oleuni, tywyllwch a ddaeth. Fy ymysgaroedd a ferwasant, ac ni orphwysasant: dyddiau cystudd" (enaid) "a'm rhagflaenasant;" a gellir ychwanegu ei fod wedi cario allan ei egwyddorion y rhai a gredai yn ddirgelaidd, gan eu datgan heb gêl yn mhob man y caffai gyfleusdra, hyd y waith olaf y bu yn nghymdeithas y frawdoliaeth, nes y medrai ddweyd, "CODAIS A GWAEDDAIS YN Y GYNNULLEIDFA." Ofer dysgwyl iddo godi mwy, gan hyny, gweddi yr eglwys a fyddo, "CYFODED DUW," a llanwed ereill â'r un ysbryd, fel y gwaeddont yn erbyn yr un halogedigaethau; yna bydd gobaith y purir Sïon, ac yn y canlyniad yr achuber y byd.

Boreu dranoeth, am wyth o'r gloch, ymddyddanwyd â dau bregethwr ieuanc, yn y cyfarfod crybwylledig, gyda golwg ar helaethu maes eu llafur gweinidogaethol. Wedi iddynt fyned trwy yr ymholiad yn nghylch eu profiad a'u hegwyddorion, dymunwyd ar Mr. H. i'w holi am y profion o'u galwad i'r Swydd, ond yn lle canlyn y ddefod arferol, drwy holi rhes o gwestiynau, traddododd anerchiad effeithiol a difrifol iawn ar yr angenrheidrwydd am anfoniad dwyfol i'r gwaith mawr o

bregethu yr efengyl. "Y mae mwy o eisieu gwybod hyn yn awr nag erioed," meddai, "am fod y rhai a anfonwyd ac a lwyddwyd gan Dduw ar y maes yn y blynyddoedd a aethant heibio, yn methu gwneyd nemawr o'u hol y dyddiau hyn. Mynwch weinidogaeth fo'n cyfranu addysg i feddyliau'r gwrandawwyr; y mae rhai pregethwyr," meddai, "fel y *concordance*, a gwaeth nâ hyny, dim ond coffâu adnodau, heb un cysylltiad neillduol, nac esponiad, o'r dechreu i'r diwedd; ïe, a mynwch weinidogaeth gyfeiriol at gydwybodau dynion." Terfynodd ei gyfarchiad gwresog y tro hwn heb un ymwybyddiaeth mai y waith olaf ydoedd ar y cyfryw achlysur, ac ymddangosai fel un yn awyddus i flaenllymu crymanau ei frodyr ieuainc ar gyfer y cýnauaf mawr, pan ar droi oddiar y maes ei hunan wedi gorphen ei waith, a dywedai fel hyn:— "Cynghor yr hen frawd Richard James, o Bontrhydyfen, i mi pan yn ddyn ieuanc, oedd, '*Gollwng at grimpau'r bobl, Morgan;*' felly chwithau, frodyr bach, gollyngwch nid dros benau dynion, ond at eu *crimogau.*" Pregethodd am ddeg o'r gloch, oddiar Heb. ii, 16, gydag effeithiolrwydd a ddylanwadai ar, ac a dreiddiai yn ddwfn i fynwesau y gynnulleidfa, fel un â'i ieuenctyd wedi ei adnewyddu.

Ar hyd yr wythnosau canlynol derbyniai ddatguddiedigaethau newyddion o oludoedd y drefn yr oedd ei enaid yn ymhyfrydu gymmaint ynddi; ac fel yr oedd yn agoshau at y dydd y gollyngwyd ei enaid yn rhydd i fwynhau pleserau diorchudd y Jubili dragywyddol, canfyddid ynddo arwyddion o ei fod yn ymddyeithro llawer oddiwrth y pethau a welir, a'i hiraeth am y cyfnewidiad dedwydd yn cynnyddu fwy fwy. Pregethodd Sabboth, y 14eg o Fawrth, sef y Sabboth *cyflawn* olaf a gafodd ar y ddaear, yn Mhenycae, â'r boreu dydd Llun canlynol disgynai rhyw beth anarferol, nid yn unig arno ef, ond ar ereill yn y tŷ lle y llettyai, pan yn cyflawni y ddyledswydd deuluaidd; dywedai, gyda

difrifwch dyeithrol iawn, wrth Dduw, "O Arglwydd, gad i mi weled dy wyneb! os boddlon genyt, gad i mi weled dy wyneb!" Y rhai hyn, ac ymadroddion cyffelyb, a effeithient ar wraig y tŷ yn deimlad o syndra a "pharchedig ofn" ar y cyntaf, yr hyn a ganlynid â dychryn arswydus, fel pe buasai Duw yn y lle; y teimladau dyeithr hyn a'i gorchfygodd, a chododd droion oddiar ei gliniau, gyda'r bwriad o fyned allan, am fod arswyd ofnadwy yn ymaflyd ynddi, na wybu am ei fath o'r blaen, gyda'i ymadroddion. Cofier mai nid poenau corfforol a barai iddo arfer y cyfryw eiriau, nid oedd cenadau y gelyn diweddaf wedi talu eu hymweliad ag ef eto; ond yr oedd y dyn oddimewn yn cael ei adnewyddu o ddydd i ddydd, cyn bod y dyn oddiallan ag arwyddion gweledig arno o'r adfeiliad oedd mor fuan i gymmeryd lle. Y mae llinellau GOLDSMITH mor gymhwysiadol at yr amgylchiad, â phe buasai yn byw yn yr oes hon, ac yn cyd-deithio â'n gwrthddrych yn y misoedd olaf o'i fywyd:—

"But on he moves to meet his latter end,
Angels around befriending virtue's friend;
Sinks to the grave with unperceived decay,
While resignation gently slopes the way;
And all his prospects brightening to the last,
His Heaven commences ere the world be past."

Pregethodd Mr. H. y noson hono yn Cendl, ac aeth nos dranoeth i gadw cyfarfod Eglwysig yn Bethlehem, a gorphenodd ei lafur nos Fercher trwy draddodiad pregeth ar Dwyncarno, oddiar Rhuf. 3, 28, "Yr ydym ni gan hyny yn cyfrif mai trwy ffydd y cyfiawnheir dyn, heb weithredoedd y ddeddf." Yn fuan wedi hyn dechreuodd deimlo yn wael, a dychwelodd gartref dranoeth; ond er iddo ddywedyd lawer gwaith, "Myfi a wn y dygi di fi i farwolaeth, ac i'r tŷ rhagderfynedig i bob dyn byw;" eto, y mae yn debygol fod yr amser heb ei amlygu iddo, a gallai ddywedyd yn ngeiriau Isaac, "Nis gwn ddydd

fy marwolaeth." Wedi dyoddef poen mawr hyd ddydd Sadwrn, galwyd y meddyg i mewn, yr hwn a weinyddodd y moddion mwyaf tebygol i laesu ei boenau; ond yr oedd angeu wedi cael y blaen arno, ac yn eofn yn dwyn ei waith yn mlaen, ac ni ymadawodd nes cyflawni ei orchwyl. Yn nghanol ei boenau ni newidiodd ei nôd, ac ni ymollyngodd er maint ei ddyoddefaint; ond er ymdrechiadau mwyaf egniol y meddyg i esmwythâu ei ddolur, yn yr hyn y llwyddodd am ryw yspaid byr, y mae yn amlwg mai hen feddyginiaeth Mr. H. ei hun, yr hwn a ddefnyddiodd bob dydd am ragor nâ deugain mlynedd, fu yn gysur ac yn gordial cryfaf iddo yn ei glefyd olaf. Nid wyf yn cyfeirio at y *Pills* a'r *Patent Medicines* a ddefnyddiai mor fynych, hwyrach iddo ymarfer ychydig ormod a chyffyriau o'r fath; ond yr oedd ganddo *botelau ereill*, wedi eu llanw â'r gloyw win puredig, a phan y daeth i ymyl angeu, yr oedd y potelau hyn yn llawn, yn cynnal ei enaid pan yr oedd pob peth arall yn methu, yr hyn a barai iddo ddweyd, ychydig cyn ei farwolaeth, ei fod yn teimlo ei hun yn nghyfiawnder yr Arglwydd Iesu yn fwy dedwydd nag oedd Adda yn yr ardd; fel hyn yr oedd yn derbyn mwy o gynnaliaeth i'w gorff a'i enaid allan o'r gwirionedd a bregethasai ar hyd ei oes, nag allan o ddim a fedrai meddygon y byd ei weini iddo. O'r fath gyflawnder sydd mewn Efengyl! Adroddai yn dra aml ar y prydnawn dydd Sadwrn cyn ei farwolaeth, am ras ein Harglwydd Iesu Grist, "iddo ef, ac yntau yn gyfoethog, fyned er eich mwyn chwi yn dlawd, fel y cyfoethogid chwi trwy ei dlodi ef;"* ac yna dywedai, "O'r drefn fawr! O'r drefn

* Yr oedd yr adnod hon mor wasanaethgar i Mr. H. a'r hyn a ddywed yr Apostol am dduwioldeb, "yn fuddiol i bob peth."—Yr oedd yn un o glod-werai ei Weinidogaeth yn yr Areithfa,—yn ddefnydd profiad bywiog iddo ei hun,—ac yn arf, os byddai galwad, i gyfarfod â'r gwrthwynebwr. Dygwyddai ei fod unwaith, wrth ddychwelyd o Aberdare, ar foreu rhewlyd, yn arwain yr anifail yn ei law; ar y Bont cyfarfyddai â dyn ieuanc o Undodwr, yr hwn yn sydyn a droai ato, gan ymaflyd yn y ffrwyn, a gofynai iddo, "Ai chwi yw Morgan

fawr! Ac erbyn y boreu Sabboth ymddangosai fel un wedi ei orlenwi â golygfeydd ardderchog y byd a ddaw; yr oedd erbyn hyn arwyddion anamheuol o fod angeu ar orphen ei waith, eto yr oedd "chwerwder marwolaeth wedi ei symud ymaith," ac wrth ymddyddan â brawd a alwai i'w weled, dywedai droion am y drefn yr hon a ddaliai afael yn ei feddwl, ac yn yr hon yr ymhyfrydai yn y dagfa olaf; ei eiriau oeddynt, "O'r drefn fawr am achub! O'r drefn fawr! Y mae fy nghorff yn rhy wan i'w *bearo* hi." Tua deuddeg o'r gloch, galwai cyfaill arall i'w weled, i'r hwn y gofynai am hanes y cyfarfod boreu Sabboth, pwy oedd wedi pregethu, a'r testun; i'r hyn yr atebodd yr ymwelydd mai James Davies oedd wedi pregethu, ac mai ei destun oedd, "Ant o nerth i nerth," &c. Yna dewisai wybod y sylwadau, atebwyd mai parhad mewn gras oedd yr athrawiaeth; yna ymddangosai fel wedi ei adnewyddu, a dywedai drachefn, "O'r drefn fawr! O'r drefn fawr!" "Wel," ebe y cyfaill wrtho, "Yr y'ch chwi yn myned tua'r ŵyl yn gyflym, fel yr oedd y pregethwr yn dweyd."

Beth allai y fath amlygiadau fod, pan yr oedd ei boenau corfforol mor fawr, ond blaen-brawf cryf o'r llawenydd tragywyddol oedd yn ei aros, yr hwn oedd yn marweiddio loeson angeu yn yr olwg ar fywyd ac anllygredigaeth tu draw i'r llen? Ai nid nefoedd ar y ddaear, cyn gado y ddaear i fyned i fyw i'r nefoedd, ydoedd? Ai nid rhyw beth o'r un natur â'r baradwys fach a gafodd yr Apostolion ar y gwedd-newidiad,

Howells?" "Ie," ebe yntau. "Yr wyf yn clywed," ebe'r gwr ieuanc, "eich bod yn arfer erlid yr Undodiaid, ac Undodiad wyf fi; beth sy genych i brofi fod Iesu Grist yn Dduw?" "O," ebe Mr. H., "y mae gen'i ddigon, 'Chwi a adwaenoch ras ein Harglwydd Iesu Grist, iddo ef, ac yntau yn gyfoethog, fyned er eich mwyn chwi yn dlawd, fel y cyfoethogid chwi trwy ei dlodi ef.' Yr wy'n dyall iddo fod yn gyfoethog cyn iddo ddyfod yn dlawd;—yn awr, y gwr ifanc, rhowch wybod i fi, *os nad oedd eich Crist chwi yn fwy nâ dyn, pa bryd y bu yn gyfoethog?*" Yr oedd yr atebiad mor benderfynol fel y gollyngodd y gwr ffraeth y ffrwyn o'i law, ac heb loches i droi iddi, aeth ymaith yn archolledig, gan adael ei bwnc i ymladd ei ffordd ei hun.

ydoedd y digrifwch santaidd hwn a lonai enaid y Cristion, ac a'i cadwai rhag llesmeirio yn nghanol tônau yr Iorddonen?—Ie, nefoedd ydoedd! cafodd olwg clir ar ardaloedd hyfryd Caersalem, a chynnaliwyd ef rhag llewygu yn yr ymchwydd olaf. Dywedai Mr. JANEWAY, pan yn ymyl marw, ei fod yn gweled ac yn teimlo mwy nag a fedrai ei fynegi; "Ond," meddai y gwr duwiol, "gallaf ddweyd fod y golygfeydd a welaf, a'r hyn yr wyf yn ei fwynhau, y fath na ddymunwn am fyd cyfan i gael byw yn hŵy." Cyffelyb ydoedd ansawdd meddwl ac addfedrwydd ysbryd Mr. H. yn awr sobr marwolaeth; a chyn dau o'r gloch, ar yr amser yr oedd lluaws yn Nghwm Tâf yn dylifo tua'r Baduchaf, gyda'r bwriad o'i wrando yn pregethu ar yr awr uchod, yr oedd yntau â gweddi Stephan yn ei enau, "ARGLWYDD IESU, derbyn fy ysbryd;" yn cael ei gipio gan angylion i baradwys Duw a'r Oen, yn seraph pur, i fwynhau cwmni cerubiaid a seintiau gogoniant. Felly y terfynwyd oes y Parch. MORGAN HOWELLS,

AR SABBOTH

YR 21AIN O FIS MAWRTH, 1852,

YN 57 MLWYDD A 10 MIS OED, WEDI

BOD YN Y WEINIDOGAETH AM 37 O FLYNYDDOEDD.

Wrth ystyried pa mor fynych y byddai ar ei deithiau, yr oedd yn dra dymunol i ereill, ac yn gysur yn ddiau iddo ef ei hun, ei fod wedi cael dychwelyd i'w dŷ i dynu yr anadliad olaf, fel y dywed y bardd:—

"I still had hopes, my long vexations past,
Here to return—and die at home at last."

Wedi i'r rhan ysbrydol ddianc, yr oedd galwad i osod y gweddillion marwol o'r golwg; trefnwyd i hyny gymmeryd lle ar y dydd Gwener canlynol, pryd yr ymgasglodd nifer mawr o bobl o bob gradd, oed, a sefyllfa, i ddangos yr anrhydedd a'r parch a lechai yn eu mynwesau tuag at y dyn da a'r gweinidog ffyddlawn hwn. Wedi dwyn y corff i Gapel

Tredegar, dechreuwyd y gwasanaeth gan y Parch. W. Bowen, a phregethodd y Parch. John Bowen, oddiwrth 2 Cor. v. 1, 2; ac ar ol y bregeth bedyddiwyd plentyn ieuengaf y trengedig gan y Parch. W. Davies, Bethlehem. Yna trefnwyd y gynnulleidfa mewn gorymdaith reolaidd, y pregethwyr o bob enwad a gerddasant o'r blaen, y rhai a gyfrifid i fod o 30 i 40 o rifedi, ac ereill yn eu gwahanol ddosparthiadau a ganlynasant, gan wynebu tua Chendl, lle'r beddrod; bernir fod y dorf ar ei mynediad allan o Dredegar, y fwyaf luosog a welwyd yn y lle ar y cyfryw achlysur, yn cynnwys o chwech i wyth mil o eneidiau, heb ddim wedi ei wisgo ar eu hwynebau ond gwedd arwylyddion pruddaidd, yn wylofus o herwydd colli un o gedyrn Israel. Erbyn cyrhaedd Capel Cendl, aeth y nifer a allai gael lle, i mewn; dechreuwyd y gwasanaeth gan y Parch. D. Evans, (A.), a phregethodd y Parch. D. Charles, B.A., Trefecca, a'r Parch. E. Harries, Merthyr, oddiwrth 2 Cor. iv, 18, a 2 Tim. iv, 6, 7, 8. Yna daearwyd y corff mewn bedd yn ymyl y Capel, ac anerchwyd y gynnulleidfa gan y Parch. W. Williams, (A.), a gweddiodd y Parch. R. Ellis, (B.)

Y mae yn anhawdd darlunio agwedd y gynnulleidfa fawr hon pan welsant gladdu eu cyfaill hoff a'u tad yn yr Efengyl, ac yn gorfod dychwelyd gan ei adael ar ol

"I isel orwedd,
Mewn egwan agwedd,
Yn olaf annedd
Wael ryfedd dynol ryw;"

Heb obaith ei weled mwyach yn gwynebu ar y cysegroedd i gyhoeddi anchwiliadwy olud Efengyl i dlodion Eden, a'i gawg gwaed yn llawn ar gyfer anghenion yr euog teimladwy. Ah! nid oedd ganddynt ond ymadael yn drist, gan ymuno yn y cyffelyb hiraeth a deimlid gan ddeng miloedd o galonau athrist o begwn pellaf y De hyd derfyn eithaf y Gogledd; ac nid ydyw y parodrwydd i ymddyddan am dano, y coffa cu a

thyner a wneir am ei eiriau grasusol, a'r teimlad tirf a ddangosir y fan y crybwyllir ei enw, wedi lleihau dim yn awr yn mhen blwyddyn yn agos ar ol ei farwolaeth, yr hyn a brawf fod galarusrwydd y werin,—y coffâd parchus a wnaed am dano mewn cyfeillachau,—mewn pregethau,—mewn Cyfarfodydd Misol a Chymmanfaoedd, ynghyd â'r arwyddion cyffredinol o alar a wisgid mewn cynnifer o addoldai er parch i'w goffadwriaeth, mor ddiffuant, cywir, a diragrith, â'r eiddo tŷ Israel gynt pan welsant farw AARON.

Bellach, gadawn ef hyd foreu yr adgyfodiad mawr, canys ofer dysgwyl iddo ddychwelyd :—

"Mwy ni chlywir, ar dir, dôn
Ei ddoniawl ymddyddanion."

Pan y tywelltir deigryn ar ei fedd,—gwneler hyny oddiar deimlad o'r golled a gafodd Cymru ar ol un o'i phrif wyliedyddion, o herwydd ei gymmeryd ymaith yn yr adeg fwyaf anhawdd ei hebgor; eto, er ei fwyn ef, "llawer iawn gwell" ydoedd, o herwydd ei symud i drigfa dawel, lle nad oes un gelyn i ychwanegu ei drueni, na thrueni yn trigo o fewn y cyffiniau; a phrofiadau archolledig yr anialwch wedi eu newid am bleserau gwlad yr addewid. Ni ddywed mwyach fod ei "delyn wedi myned yn alar, a'i organ fel llais un yn wylo." Y mae'r holl helyntoedd gofidus a'r awelon croes wedi darfod am byth! Y mae tu hwnt i gyrhaedd y rhai a geisiasant ei dderchafu i'r gwynt, ac yn anfeidrol rhy bell i ddynion allu marchogaeth ar ei ben. Gollynged y saethyddion ato bellach, gan chwerwi eu melldithion yn nghafnau anwiredd, enllib, a dig, y mae wedi esgyn yn uchel,—yn uchel iawn, ac yn rhy uchel i deimlo pryder rhag i'w fŵa wanhau, am nad oes anghen arf o fewn y ddinas, canys ni chlywir swn rhyfel o'i mewn! IESU sydd yno yn ben! IESU fydd yn ben! PENADURIAETH CRIST YN Y NEF FYDD NEFOEDD EIN BRAWD AM BYTH, AC I DRAGYWYDDOLDEB!

## DARN O BREGETH ANGLADDOL I MR. HOWELLS,

*A draddodwyd yn Nghyfarfod Misol Casnewydd, Mai 25ain, 1852, ar gais Cyfarfod Misol Sir Fynwy.*

GAN Y PARCH. DANIEL JENKINS, BABELL.

Heb. xiii, 7—9.—"Meddyliwch am eich blaenoriaid, y rhai a draethasant i chwi air Duw," &c.

WEDI rhoddi darluniad cyffredinol o ymarweddiad a diwedd ymarweddiad blaenoriaid ymadawedig, dysgwylir i ni roddi darluniad neillduol o'r blaenor sydd wedi newydd ein gadael. Oddiar ein hanwybodaeth o helyntion ei foreuddydd, cyfyngwn ein byr nodiadau arno at ei gymmeriad meddyliol, crefyddol, a gweinidogaethol.

Ni chyfeiliornaf wrth ddywedyd fod ganddo feddwl cryf, dychymmyg fywiog, dirnadaeth glir a thrwyadl, a chalon orlawn o deimlad. Yr oedd ei allnoedd yn rymus, ac o radd uchel; a phe na buasai erioed wedi bod yn ddeiliad achubol ras, diamen y buasai ei ddoniau yn ddigon dysglaer ac eglur i'w ddyrchafu i sylw a pharch. Yr oedd yn *ddyn* mawr.

Yr oedd yn ymresymwr cadarn, yn ddadleuwr medrus o blaid yr egwyddorion a gredai ac a broffesai. Tarddai grymusder ei ymresymau o nerth a threiddgarwch ei feddwl.

Yr oedd neillduolrwydd yn ei gymmeriad. Safai yn rhês y dynion hynod. Yr oedd ehediadau ei feddwl ac ystumiau ei gorff yn briodol iddo ef, ac iddo ef yn unig. Mae yn sicr na efelychodd efe neb, ac mor sicr â hyny na efelychodd neb yntau.

O ran ei gymmeriad crefyddol, safai yn uchel iawn. Yr oedd yn Gristion, yn Israeliad yn wir. Ni fu ei dduwioldeb erioed yn destun amheuaeth; yr oedd uwchlaw petrusder. Nid oedd efe ei hun un amser yn amheüus yn ei gylch, pa wynt bynag a chwythai arno. Teimlai yn sicr fod ei farn a'i fater yn dda. Meddyliais lawer gwaith mai yn y sicrwydd dedwydd hwn yr oedd rhan fawr o ddirgelwch ei wroldeb yn ei gyflawniadau cyhoeddus yn gorwedd. Gwan a llwfr fydd dyn yn ei gyflawniadau cyhoeddus, heb feddu graddau o sicrwydd meddwl am ddiogelwch cyflwr. Gallai ef, fel yr arferai ddywedyd, gysgu yn dawel gyda golwg ar ei gyflwr personol ei hun.

Nid oedd heb wendidau. Nid yw y goreu o ddynion hebddynt. Ond yr oeddym yn canfod rhinweddau trwy ei ffaeleddau ef; gwelem ddyn diddichell a diragrith drwyddynt. Pan fyddai yn gyffröus yn ei feddwl a'i agwedd, canfyddem yn eglur fod zel y tŷ yn ei ysu, ac eiddigedd santaidd dros ogoniant yr Arglwydd yn ei gynhyrfu.

Safai yn uchel iawn fel Gweinidog yr Efengyl. Nid yn yr un pethau y mae rhagoriaeth gweinidogion talentog a defnyddiol yn gynnwysedig; rhagora rhai yn y ffordd hon, a rhai yn y ffordd arall. Dichon i'r meini gwerthfawrocaf a dysgleiriaf wahaniaethu mewn lliw,

heb wahaniaethu mewn gwerth. Rhagorai ein brawd hwn fel *athrawiaethwr* a *gwyliedydd*.

Deallai athrawiaeth yr efengyl yn dda. Yr oedd ei olygiadau arni yn ëang, cywir, a mawreddog. Meddai ddirnadaeth eglur o'i hamrywiol bynciau yn eu perthynas a'u cysylltiad â'u gilydd, yn nghyd ag ymddibyniad y naill ar y llall. Yr oedd yn amgyffred *cysondeb* y ffydd. Yn ei weinidogaeth, safai yn benaf ar athrawiaethau sylfaenol Cristionogaeth. Pechod gwreiddiol, hollol lygredigaeth dyn, rhad rhas, Person y Cyfryngwr a'i swyddi, yn enwedig ei arch-offeiriadaeth, cyfiawnhad trwy ffydd, a'r anghenrheidrwydd am weinidogaeth yr Ysbryd Glân er argyhoeddiad, dychweliad, a santeiddiad pechadur, oeddynt ei hoff byncian, ar ba rai y byddai ei feddwl yn ymfoddhau. Yr oedd ei enaid ef gydag enaid crefydd. Ei phethau penaf hi oedd ei bethau penaf ef. Yr oedd pob peth, ond athrawiaeth croes Crist, yn gylchle rhy gyfyng i'r goleuad mawr hwn droi ynddo.

Yr oedd yn nodedig am ei aidd dros y wir athrawiaeth; yn fwy felly, meddyliwn, nâ neb o'i gyfoesolion. Gwrthwynebai athrawiaethau amryw a dyeithr gyda deheurwydd a gwroldeb mawr. Yr oedd yn fwy am amddiffyn anrhydedd y wir athrawiaeth, nag am amddiffyn ei enw a'i anrhydedd ei hun. Gwnaeth aberth o'i deimladau er ei mwyn hi. Gosododd ei hun yn agored i lawer o erlid, ac yn nôd i saethau y gelynion, yn hytrach nag iddi hi gael goddef. Saethwyd llawer ato; bu y saethyddion yn chwerw wrtho: ond bu yr Arglwydd yn darian iddo. Bu holl saethau ei elynion yn aflwyddiannus i'w niweidio. Amddiffynai yr athrawiaeth ag sydd yn dwyn mwyaf o ogoniant i Dduw, ac, mewn canlyniad, amddiffynodd Duw yntau.

Triniai byncian yr efengyl gyda grym ac awdurdod mawr. Yr oedd ei ymadroddion yn hynod o darawiadol ac effeithiol; bydd llawer o honynt yn ein côf a'n meddwl tra fyddom byw. Pregethai nid yn oeraidd a diofal, ond gyda bywyd, nerth, a gwresawgrwydd rhyfeddol yn aml. Traddodai wirioneddau yr efengyl fel un yn eu credu, heb y gradd lleiaf o betrusder yn eu cylch. Yr oedd yn deimladwy o awdurdod y gwirionedd ar ei feddwl ei hun. Yr oedd ei holl enaid yn ei eiriau; llefarai o helaethrwydd ei galon.

Gorphenodd ei oes heb golli ei goron,—pwnc mawr,—camp uchel, yw hyny! Yr oedd mor iraidd ei ysbryd, mor fywiog ei ddeall, mor gyfoethog ei ddrychfeddyliau, ac mor llewyrchus, yr oedfäon diweddaf ag y bu erioed. Er cymmaint a bregethodd am rad ras, person a swyddi Crist, a chyfiawnhad trwy ffydd, parhaodd yr athrawiaethau gogoneddus hyn yn eu blas, a'i ymdriniaeth yntau o honynt yn ei dylanwad, hyd ei farwolaeth. Yr oeddent yn ffynonellau anysbyddadwy o gysuron; derbyniai ffrydiau newydd o honynt bob dydd i ddisychedu ei enaid. Oirheiniodd feusydd prydferth a dymunol rhyfeddodau Trefn Achub filoedd o weithiau, eto, yn angeu, yr oedd yr olygfa ogoneddus yn ymagor o'i flaen fel cyfandir diderfyn.

Yr oedd yn *wyliedydd* effro. Safai yn ofalus ar fur Sïon, gan wylio yn fanwl holl ysgogiadau y gelyn, a rhybuddio yr eglwys yn ffyddlawn a phrydlawn o'i pherygl a'i ddyledswydd. Craffai yn fanwl ar arwyddion yr amserau. Edrychai nid o gylch gartref yn unig, ond taflai ei olwg i Ffrainc, Awstria, Rwssia, Amerig, ac ni ddiangai Caercystenyn a Rhufain ei sylw na'i gôf un amser. Sylwai gyda manyldra a phryder teilwng o ddyn Duw ar symudiadau y bwystfil, gan ddysgwyl clywed y floedd, "Syrthiodd, syrthiodd Babilon fawr!" Er na chafodd yr hyfrydwch dysgwyliedig o draddodi ei bregeth angladdol y tu yma i'r llen, diau y caiff yr hyfrydwch annhraethol uwch o'i thraddodi ar y làn draw, i gynnulleidfa gymmysg o waredigion ac angelion.

# PENNOD XII.

## LLYTHYRAU AT YR AWDWR.

Llythyrau ar Nodweddion Mr. H., oddiwrth y Parchedigion D. JONES, Caernarfon, D. CHARLES, B. A., Trefecca, a W. ROWLANDS, *New York*, America.

"AT Y PARCH. E. MORGAN.

"ANWYL GYFAILL,

"Gan mai ychydig droion y cefais y fraint o wrandaw y Parch. MORGAN HOWELLS, ac amser maith, bellach, oddiar y tro olaf y cefais gyfleusdra i'w glywed yn pregethu, yr ydwyf o dan anfantais i ffurfio barn gywir am ei alluoedd gweinidogaethol; ond wrth ei wrandaw yn llefaru yr adegau hyny, gallasai perchen chwaeth ddeall yn hawdd fod y pregethwr uwchlaw y cyffredin, yn meddu esgyrn a gewynau gwr; yn ddyn o wybodaeth gyffredinol, ac yn alluog i feddwl drosto ei hun; yn dwyn i'r amlwg feddyliau gwreiddiol, a rhai pethau dyfnion a newyddion, ac yn medru gosod allan hen wirioneddau cyffredin mewn gwedd anghyffredin, i ymddangos i'r gynnulleidfa yn gwisgo newydd-deb. Yr oedd yn gollwng allan yn fynych ddrychfeddyliau cryfion ac ehedegog, fel mellt tanllyd yn gwibio trwy yr holl dorf, gan gynhyrfu i'r eithaf deimladau pob dyn meddylgar.

"Fy synied am dano pan yn ei wrandaw yn pregethu oedd, fod llawer o hynodion ynddo. Fel ag yr ymdeimlwn yn briodol dywedyd, gyda golwg ar bregethu yr efengyl, "Wele, gwnaethwyd pob peth yn newydd." Yr oedd rhyw bethau anghyffredin yn ei wynebpryd, yn y meddyliau a draethid ganddo, ac yn ei ddull yn eu traethu. Yr oedd y wyneb llwydaidd a theneu, a'r llygaid syml a diniwed yn arddangos meddwl wedi ymddyeithro llawer i bethau y byd hwn, ac wedi ei lyncu i fyfyrdod ar bethau mawrion y byd anweledig, gan syllu yn synedig ar eu rhyfeddodau. Gallesid casglu oddiwrth y pregethau a wrandewais ganddo, ei fod yn llafurio mwy am feddyliau nag am drefn i'w gosod allan. Ymddangosai yn ymestyn yma a thraw, yn gwibio yn mhell ac yn agos, i gasglu perlau gwerthfawr, meddyliau cryfion ac ardderchog, ond heb ofalu nemawr am eu trefnu yn rhesau rheolaidd mewn cadwyn blethedig. Yr oedd ganddo ddull dyeithrol a chyffrous i draddodi ei feddwl, yn eiddo gwreiddiol a phriodol iddo ei hun. Rhoddai ar ddeall yn fuan i'w wrandawwyr nad oedd yn ceisio dynwared yr un o'i frodyr, nad oedd am ymddangos o flaen y cyhoedd yn ngwisg neb arall; ond ei fod o ansawdd ysbryd rhy foneddigaidd i wneuthur mas-

nach mewn dillad ail law. Ymddangosai hefyd nad oedd ei ddeall yn ffrwyth celfyddyd, neu yn effaith rhagfwriad; i gyrhaedd rhyw newydd-deb wedi ei weithio allan trwy ymdrech. Dichon y ffurfid barnau tra gwahanol gan ei wrandawwyr am gyfaddasrwydd ei agwedd. Pa fodd bynag am hyny, nis gallasai un dyn diduedd lai nâ'i chydnabod yn naturiol, yn mhell oddiwrth fod yn rhodresgar; yn ymddangos yn debyg i effaith gwresogrwydd yr Ysbryd wedi ennill llwyr feistrolaeth ar y corff, neu gynhyrfiadau y dyn oddifewn yn ymweithio trwy y dyn oddiallan, mewn cyffröadau naturiol, gan newid ei ystum yn aml, a hyny i gyfateb i ansawdd yr hyn a draethid ganddo ar y pryd. Fel nad oedd ei gorff ond cyffelyb i bren ar wyneb y môr, yn symud yma a thraw, yn esgyn i fyny ac yn disgyn i lawr, yn ol ymweithiad y tônau cryfion odditano. Yr oedd i'w weled yn ymaflyd yn ei orchwyl o ddifrif, yn ymwybodol o bwysigrwydd ei swydd, ac yn ymdeimlo yn fywiog a chymhwys ei genadwri; gan gadw llywodraeth arno ei hun, heb ymollwng i floeddio na chanu; ond wedi ymgynhyrfu yn iawn gallai ymbwyllo drachefn, ar ol esgyn yn uchel medrai ymddarostwng yn isel eilwaith. Ac nis gallasai ei wrandawwyr ystyriol lai nâ'i gydnabod mewn gwirionedd yn un o feistriaid y gynnulleidfa.

"Wrth ddywedyd fod ei agwedd yn traethu ei genadwri yn gynhyrfus a dyeithrol, yr wyf yn meddwl nas gallasai un dyn o ysbryd diduedd lai nâ chydnabod ei ysgogiadau corfforol yn hollol naturiol, ac yn mhell uwchlaw unrhyw ystum isel ac annheilwng. Nid yw o nemawr bwys i bregethwr geisio ffurfio ei agwedd i foddhau yr ysbryd hwnw a lywodraethai Michal, merch Saul; yr hon a ddirmygodd Dafydd gynt am neidio mewn gorfoledd o flaen arch Duw. Mae yn debyg fod yr ysbrydion drwg yn parhau yn eu rhif o hyd trwy yr oesoedd; ac felly, fod yr ysbryd hwnw a dorodd allan yn Michal gynt, yn cael rhyw ddynion at ei wasanaeth hyd y nod yn ein dyddiau ninau, i ymrithio i'r byd drwyddynt Y cyfryw ysbryd, na ddichon i bregethwr ei foddhau yn ei agwedd, oddieithr iddo sefyll yn llonydd fel delw, wedi ei rhwymo i fyny â ffurfiau. Pa beth a ddywed y cyfryw am eiriau y prophwyd Ezeciel? "Fel hyn y dywed yr Arglwydd, Taro â'th law, a chur â'th droed,——am hyny taro law ar forddwyd,——prophwyda, a tharo law wrth law——." Mae yn debyg i ysbryd Michal fod yn ddigon hyf a digywilydd i gyhoeddi yn ngoleu haul wrthwynebiad i gynhyrfiadau y prophwyd Ezeciel, gan eu gwawdio a'u galw yn stranciau. A pha ryfedd? oblegid nis gall y cyfryw ysbryd byth drigo yn y fynwes a fwynhaodd orfoledd yr iachawdwriaeth; nis gall oddef yr olwg ar fywyd crefyddol; ni ddichon, ac ni fyn chwaith, wneuthur ei gartref ond yn y galon farw. Nid oes eisieu gwell ateb i'r ysbryd hwn nâ'r eiddo Dafydd. "Byddaf eto waelach nâ hyn, a byddaf ddirmygus yn fy ngolwg fy hun." 2 Sam. vi, 21, 22.

"Gan gofio atoch yn garedig,

"Yr eiddoch yn ddidwyll,

"*Caernarfon, Tach.* 29, 1852." "DAFYDD JONES."

---

## "AT Y PARCH. E. MORGAN.

"GAREDIG GYFAILL,

"Gan i chwi ofyn i mi anfon ychydig o linellau atoch o barth i'r brawd anwyl a hoff, y diweddar Barch. MORGAN HOWELLS, tybiais nas gallwn wneyd yn well nag anfon i chwi ddyfyniad o un o'i bregethau, yr hwn sydd yn gosod allan i raddau go helaeth nodwedd ei ymadrodd a'i brioddull hynod yn y pulpud, ac a drosglwydda i'r oes nesaf feddylddrych cywirach am dano nag a allai dim a ysgrifenid genyf fi ei wneuthur. Yr oedd ein brawd

ymadawedig yn un o'r rhai hynotaf yn ei oes, ar lawer golygiad. Cyffelybwn ef yn aml i ryw *gomet* fawr, ag oedd yn ymlwybro ei ffordd trwy ffurfafen ein byd eglwysig, heibio i'r naill blaned a'r llall (ag oeddynt yn troi yn y cylch cyffredin), ac yn rhedeg rywle i eithafion ehangder. Rhoddai ei ddrychfeddyliau ysplenydd,—ei ehediadau uchel,—argraff ar y meddwl ei fod wedi bod yn rhyw fan y tu hwnt i gynniweirfa y lluaws o blant dynion,—yn rhyw fan lle y caffai fwynhad o gyfrinach y byd ysbrydol nad oedd i'w gael gan farwolion cyffredin. Deuai i'n plith ni, fel un ag oedd newydd ddisgyn o'r byd anweledig, lle y gwelsai bethau anhygoel, ac yn methu dadgloi y drws o ymadrodd i roddi golwg ar y byd hwnw, trwy fod y pethau yn eu mawredd, a'u gogoniant yn gyfryw "nad yw gyfreithlawn i ddyn eu hadrodd." Mynych y sylwid ar dremiad ei lygaid, ei fod fel un yn canfod y gogoniant—ond mor ddysglaer ydoedd, fel nas gallai gael un dull o ymadrodd i drosglwyddo i ereill yr hyn oedd yn nghynnwys ei feddwl ei hun. Dywedai ar y cyfryw amserau, "O! O! ogoniant trefn Duw!—'Rwy'i bron â dyrysu," &c. Yr oedd ei lygad fel llygad eryr,—gwelai yn mhellach na dynion cyffredin, i ddirgelion trefn achub,—ond wrth esgyn i fyny ar adenydd ei ffydd i awyr bur y nefoedd, ac edrych ar yr Haul mawr yn ei danbeidrwydd uwchben, prin y gallai ei lygaid yntau ddàl yr olwg y pryd hyn;—eto, edrychai arno yn fwy *sefydlog* nag ereill; ac wrth ei olrhain a'i ryfeddu, a gorfoleddu yn ei oleuni, braidd na orchfygid ef ag awydd i esgyn yn uwch uwch o hyd, nes cyrhaedd awyrgylch y Gogoniant ei hun. I ddefnyddio ymadrodd cyffredin o eiddo ein brawd, yr oedd weithiau "*bron a myned ei enaid o'i gorff;*"—ond, er fod y llestr pridd yn rhy wàn i ddal, erbyn heddyw y mae yr ysbryd wedi ei óllwng yn rhydd, a'r llestr yn ddigon cadarn i ymgynnal, heb ddryllio, dan y tragywyddol bwys gogoniant a ddadguddir;—y mae yr eryr wedi ehedeg adref i'w wlad ei hun. Deuai atom fel un wedi bod yn siarad wyneb yn wyneb yn y mynydd â Duw, ac wedi derbyn ganddo bethau i'w traethu i'r byd o barth i agwedd grefyddol yr oes,—cyflwr gwrthgiliedig yr eglwys,—y cyfeiliornadau perthynol i wahanol enwadau crefyddol, yn Babyddion, yn Buseyaid, yn Sosiniaid, yn *Finneyaid*, &c.; yn gystal â chyflwr dyfodol yr eglwys,—barnau Duw ar gau-grefyddwyr, heblaw amserau blinion i gyfarfod â phobl Dduw. Ymddangosai fel pe bai ganddo genadwri neillduol o barth i'r testunau uchod; ac nid oes amheuaeth na fu darfod iddo godi ei lais fel udgorn yn erbyn llygredigaethau yr oes, yn foddion i ddeffroi llawer o wylwyr Sïon at eu dyledswydd, a'i ragddarbodiad o ddrygau i ddyfod, beri dychryn i feddyliau llawer, rhag fod ein gwlad yn addfedu i farnau dinystriol.

"Yr oedd *ysbryd* y weinidogaeth yn hynod yn ein brawd. Ymddangosai gerbron y cynnulleidfaoedd fel dyn Duw, a theimlai fel cenad dros Grist at fyd colledig. Yr oedd tanbeidrwydd yn ei ysbryd,—gwresogrwydd yn ei ddull,—agosrwydd yn ei ymadrodd,—difrifwch yn ei agwedd, a zêl tros ogoniant ei Dduw yn llosgi yn ei fynwes. Tueddai bob amser i edrych ar yr ochr waethaf i bob peth y ddaear,—yr ochr oreu i bob peth y nefoedd. Gyda gresyndod yr edrychai i lawr i ddyfnder y pydew erchyll yn mha un y gorweddai y dyn, ond gyda gorfoledd y codai ei olygon i fyny tua gorsedd ei Dad. Collasai ei ymddiried yn mhob peth o eiddo y byd yma,—ond gafaelai o'r herwydd yn fwy sicr yn y cyfammod a'r breichiau tragywyddol. "*Gogoniant!*" meddai, "*pe bai yr hen ddaear yma yn llosgi, mi lamwn ar ei lludw.*"

"Mynych yr ymwelai â ni yn Nhrefecca, gan ein breintio dros ddwy noswaith a diwrnod cyfan bob amser, â'i gwmni cyfeillgar. Teimlai eiddigedd santaidd o barth i'r sefydliad, a mynwesai wir ddymuniad am ei ddefnyddioldeb a'i lwyddiant; a'r canlyniad ydoedd, nad oedd yn cadw draw, ond fel un "*yn gwir ofalu,*" yn dyfod yn fynych atom. Ar yr achlysur hyny, cyfarfyddai yn gyffredin a'r Athraw yoghyd a'r Efrydwyr yn y *Lecture Room*, a rhoddai

gynghorion a rhybuddion dwys yn y modd mwyaf caredig, cyfeillgar, a thyner. Edrychid ar ei ddyfodiad bob amser genym gyda hyfrydwch, ac nid ai byth ymaith heb adael tystiolaeth ar ei ol, fod cenad Duw wedi bod yn ymweled a ni. Sylwais lawer gwaith arno yn gweddio ar y prydiau hyn. Ymddangosai fel un yn myned at ei Dad, pan ar ei liniau, ac megis o'r tu fewn i'r llèn, yn ngolwg y drugareddfa;—yno y byddai wedi ei orchfygu a *rhyfeddodau*,—yn cuddio ei wyneb mewn gwylder a gostyngeiddrwydd,—ei galon yn llawn at yr ymyl o *ddiolchgarwch*,—a'i ysbryd yn ymdrechu a Duw trwy afaelyd yn ddiysgog yn ei addewidion, a'i gyfammod, a'r *Iawn*.

"Ond ni chawn ei weled na'i glywed yn Nhrefecca mwy,—ac y mae hyn yn *wir* golled i ni. Mae dynion Duw o'r fath yma, a phwys yr achos yn ei *holl ranau* ar eu meddwl, a hyny hefyd nid yn unig gyda golwg ar yr amserau presenol ond *oesoedd dyfodol*, o werth anmhrisiadwy. Gwelai Morgan Howells fod agwedd y weinidogaeth yn yr oes nesaf yn dibynu ar y dynion ieuainc sydd yn awr dan addysg, yn darparu at y gwaith o "ddysgu ereill," ac o "borthi praidd Duw;" a theimlai awydd i'w llunio wrth yr hên wirioneddau a bregéthid gan y tadau Methodistaidd, ac a arddelid mor neillduol gan Ysbryd Duw. Cafodd yr eglwys ar y ddaear golled mawr yn ei ymadawiad,—collodd bleidiwr cryf dros santeiddrwydd,—milwr gwrol ac arfog yn erbyn ei gelynion,—dadleuwr medrus dros wirioneddau,—a gweddiwr mawr dros ei llwyddiant.

"Ni anghofiaf ddydd ei angladd tra fyddwyf byw. Meddyliwyf fod pawb ag oedd yn bresenol yn teimlo mai "*da oedd bod yno.*" Yr oedd rhyw fath o lawenydd nefol wedi ei gymmysgu â galar yr holl luaws o frodyr a ddaethant yn nghyd i anfon y rhan farwol o'r 'gwr Duw,' i'w hir gartref. Yr oedd rhyw ddylanwad, nas gallem ddweyd yn iawn pa beth ydoedd, yn meddiannu y dorf y diwrnod hwnw,—rhyw beth megis o'r drydedd nef, fel pe bai yn agos. Meddyliem fod lluaws o angylion yn ein plith, a'u bod yn cyduno a ni yn y canu ar y ffordd i fynwent Cendl, i ddodi y pwrcas i lawr i orphwys yn nghôl yr Hwn "sydd abl i'w gadw erbyn y dydd hwnw." A'n hiaith wrth ffarwelio a'n brawd ydoedd,—

"Cysga dy hûn yn dawel
Dros enyd yn y grafel,
Nes dattod trefn y rhod;
Ac yna mewn hedd,
Cei godi o'th fedd
Ar ddysglaer wedd dy Briod."

"Yr eiddoch, yn ddiffuant,

"DAVID CHARLES."

"*Trefecca, Ionawr* 6, 1853."

---

"AT Y PARCH. E. MORGAN, CAERDYDD.

"ANWYL A PHARCH. FRAWD,

"Yr oedd eich llythyr trist, ond serchog, dyddiedig Hyd. 16eg, yn mhlith y sypyn a'm dysgwyliai o'm taith ddiweddar yn Nhalaeth Ohio; y bellaf a'r fwyaf oddigartref, a gymmerais er ys deng mlynedd. Teimlwn yn awyddus i'w ateb yn gynt, ond taith wedi hyny i Sir Oneida, yn nghyd â'r holl waith o olygu a chyhoeddi y "CYFAILL," y Weinidogaeth Fawr, a lluaws o fân orchwylion ereill, a barai i mi oedi, a chymmeryd mantais ar eich goddefiad hwyaf. Nid wyf yn teimlo fod genyf nemawr i'w ddweyd, wedi ymaflyd yn y gorchwyl, ond arllwys fy nheimladau ar farwolaeth fy

anwyl hen gyfaill; eto, cewch fy hatling, gyda dymuno y buasai yn llawer mwy, i'w drysorfa goffadwriaethol.

"Parodd y newydd am farwolaeth y Parch. Morgan Howells, ("Morgan Hywel" y werin), i mi wylo fel wrth golli un o'm plant. Da oedd genyf gael lle o'r neilldu i ysgafnhau y fynwes lwythog, trwy dywalltiad helaeth o ddagrau,—a hyny droion am wythnosau, pan gofiwn am dano. Eto, er ei fwyn ef ei hun, llawenychwn ei fod wedi dianc; braidd na eiddigeddwn wrtho. Wythnos cyn hyny yr oeddwn wedi derbyn gwahoddiad tyner oddiwrth gyfeillion a swyddogion eglwysig yn Sir Fynwy hoff, i ymweled â'r Gymdeithasfa yn Mhenycae; ond pe buasai iechyd ac amgylchiadau ereill yn goddef i mi ryw obaith o hyny, yr oedd y newydd am farwolaeth Howells fel diffoddydd hollol ar y cwbl ar unwaith. Ymweled â Sir Fynwy, a'i chael heb Morgan, oedd syniad annyoddefol. Haws o lawer oedd i mi droi fy llygaid tuag i fyny; nid oedd gobaith cael ei gyfeillach ddiniwed drwy flin forio ar draws yr Atlantig chwyddedig, ond yr oedd gobaith cael y mwyniant hoff hwnw drwy groesi "Yr hen Iorddonen ddofn ddû." Oblegid, er fod Morgan Howells a minau yn bechaduriaid mawrion,—mawrion iawn, y mae'r Arglwydd Iesu yn Iachawdwr mawr iawn! Ac nid oes mesur ar eitha' trugaredd Duw, na rhinwedd Gwaed y Groes.

"Pan ferwo'r môr, pan losgo'r tir,
Cant godi'u pen, a llawenhau;
A'u poenus wae, &c.
Aeth heibio'n wir."

Fel y dywedech, "Cyfaill cywir" i mi ydoedd.

"Cyfaill cywir, yn yr ing y'i gwelir;"

Ac hyd y deallais i, cywir oedd Mr. H. yn mhob man ac i bawb. Syniadau cywir a goleddai mewn athrawiaeth, a dysgyblaeth gywir, yn ddiofn a diduedd, a bleidiai mewn llywodraethiad eglwysig.

"Nis gallaf lai weithiau yn awr, nag adfeddwl am y tywydd yr aethym drwyddo tua deunaw mlynedd ac ychwaneg yn ol; nid wyf heb "edrych fy ffordd yn y glyn," ar droion. Rhodiais eisoes un "glyn cysgod angeu" ar fy mhererindod, ac, hyderwyf, er i mi gael llawer iawn o drallod, na chefais i ddim "niwed." Wrth droi fy ngolwg yn ol ar yr olygfa dywyll, y mae ambell belydryn gwan o dywyniad haul i'w ganfod am eiliad rhwng y cymylau duon,—digon i ddangos mai yn llaw Tad tyner yr oedd y wialen, fel y ffaethfa (*oasis*) werdd yn y diffeithwch anghyfannedd, i lòni yr estron lluddiedig.—Yn mhlith y cyfryw y mae yn amrywio yr olygfa i minau, ffyddlondeb, cywirdeb a chyfeillach dyddan fy mrawd trengedig. O, fy mrawd! yr oedd fel colofn union-syth, yn sefyll bron yn unigol pan oedd y lluawsyn troi eu cefnau. Cafodd Job dri chyfaill; cefais inau dri, ac ychwaneg, efallai; ond yn eu plith, mae'n sicr yr haeddai Morgan ei restru gyda thri chedyrn cyntaf Dafydd, (2 Sam. xxiii). Bu ef yn yr un tywydd â minau, mewn rhan; medrai gydymdeimlo, ac amlygai hyny. Tywydd, er mai fi ac yntau, ac amryw ereill, yn Ne a Gogledd Cymru, o Weinidogion y Methodistiaid Calfinaidd, gafodd ddyoddef; eto meddyliwyf nad yw yn anmhosibl fod gan yr Arglwydd lais drwy hyny at y Cyfundeb eglwysig y perthynem iddo, o herwydd ei esgeulusdra gwirfoddol o'r hyn a ordeiniodd efe mor amlwg, sef, "bod i'r rhai sydd yn pregethu yr Efengyl, fyw wrth yr Efengyl." Nid yn unig trefn annhrefnus y Trefnyddion, eithr hefyd cynghorion eu pregethwyr oedranus, y rhai a garent ein parch, a arweiniodd rai o honom, modd bynag, i'r profedigaethau a fuont mor chwerw i ni; ac fel y delo pethau'r cysegr yn oleuach, rhoddir y cyfrifoldeb o'r helbulon yn fwy priodol i'r neb y perthyna iddynt. Haeddent ganmoliaeth uchel am eu

hymdrech i adeiladu eglwysdai ysplenydd; ond gyda phob parch i'w gwybodaeth uwch, nid ydym yn meddwl fod Duw yn ei gymmeryd yn garedig ganddynt i adael ei *Weinidogion eneiniedig ef*, fel y gwnaed â Morgan Howells. . . . . . . . . . . . . . Ond gadawn hyna ar hyna.

"Megis ddöe yr wyf yn cofio yr olwg gyntaf a gefais ar y trengedig. Pan yn fachgenyn, tuag 16 mlwydd oed, newydd ddyfod at grefydd, yn yr ysgol ddyddiol, dan ofal y Parch. John Jones, Llanleri, yn Llangeitho, clywwn gyhoeddi gŵr dyeithr o Sir Fynwy, ac elai'r gair allan i'r gymmydogaeth mai Siopwr ydoedd, wedi syrthio i dlodi o herwydd ei ddiniweidrwydd a'i ysbryd gweinidogaethol,—wedi methu gwasanaethu dau arglwydd,—i'r hwn y dymunid i gyfranwyr y degwm . . . . fod dipyn bach yn fwy haelionus nag arferol. Daeth yr oedfa, a daeth y pregethwr dysgwyliedig. Tebygwn fy mod yn ei weled yn awr yn dyfod i'r ganghell. (dydd gwaith ydoedd). Dyn main, teneu, braidd yn dalach nâ'r cyffredin, ac mor welw ei wedd ac eiddil ei ysgogiad, fel y gallesid meddwl mai dianc a wnaethai o grafanc yr angeu, neu ei fod yn cyflymu ar y filldir olaf o'r darfodedigaeth. Dechreuid y cyfarfod gan ei gydymmaith,—hen ŵr o'r enw Wynston, o Sir Frycheiniog,—yn ymadroddi yn fyr, gyda llais sych craslyd;—yna elai yntau i fyny i'r pulpud. darllenai ei destun yn isel,—a rhagymadroddai mewn llais crynedig,—gydag ochenaid ddwys rhwng pob brawddeg,—yr un fath â dyn bron colli ei anadl gan ddychryn,—nes oedd wedi ennill tosturi yr holl gynnulleidfa, a dysgwyliem iddo fethu yn fuan; ond gwella ei afael a wnaeth, a chyn pen ugain mynyd cawsom ddeall fod yno "Angel cryf" o fewn y corff egwan,—ehedai hefyd yn nghanol y nef,—gan ddwyn ein teimladau yno gydag ef, tra y cyhoeddai i ugeiniau o wynebau gwlybion—synedig erbyn hyn—"yr Efengyl dragywyddol:"—

"Y iechydwriaeth fawr ei dawn,
Ddaeth un prydnawn i ni."

"Yr oedd i bregethu yn Llwynpïod y prydnawn hwnw, ac yno yr aethym i ac amryw ereill o'r ysgolorion, heb ofni llid ein brenin bychan—mawr ei enaid,—gan adael y Groeg a'r Lladin i'r cŵn, o'n rhan ni. Yno yfem drachefn, a chyda blàs na chawswn i o leiaf erioed ei fath dan weinidogaeth neb o'r blaen, ei athrylith tarawiadol,—Cymraeg, cymmysgedig, yn awr ac eilwaith, â llinellau tlysion o'r Saesonaeg; ac mor fywiog ydoedd cyn y diwedd, fel mai o'r braidd yr arosodd yn y pulpud i ddiweddu; meddyliais droion, yn sicr, mai neidio allan a wnelai. Meddyliwn y pryd hwnw na lefarodd dyn erioed fel y dyn hwn. Efe oedd fy Paul a'm Apolos i o'r dydd hwnw allan; ac, yn mhen blynyddoedd wedi hyny, rhaid ei bod yn oedfa ryfeddol o galed, os na chawn ryw flâs wrth wrando Morgan Hywel, yn wahanol i'r cyffredin. Rhyfeddais yn fawr, yn mhen blwyddyn wedi'n, ar ol symud i Sir Fynwy, ac ymsefydlu yn Mhontypool, (Pont-ap-Hywel,) a galw ryw brydnawn dydd Sadwrn gyda Mr. Howells yn y Casnewydd, ei gael yn ddyn "megis un o honom ni,"—yn wir gnawd ac esgyrn,—yr olaf yn benaf,—ac yn ddarostyngedig i'r un gwendidau â'r lleill o ddynolryw. Aethom, afraid dweyd, yn fuan, yn gyfeillion gwresog.

"Cefais y fraint o ddechreu ar waith y Weinidogaeth dan ei sylw a'i arolygiad neillduol ef; nid wyf yn cofio am neb ond y diweddar Thomas Evans, o Risca, ac yntau, a gymmerodd ddim trafferth gyda mi. Rhyfedd mor daer y byddai Mr. Howells yn fy nghynghori i fod yn syml ac eglur yn fy ngweinidogaeth, ac os clywai fi yn arfer rhyw air heb fod yn hollol eglur a chynnefin, galwai fi i gyfrif yn ddioedi, a rhybuddiai fi yn ffyddlawn rhag nesu at ddull aml-eiriog, tywyll, ac hunan-fawreddog rhyw bregethwyr adnabyddus i ni yn y

tymhor hwnw. Da yr wyf yn cofio llawer ymgomiad difyrus a gefais gydag ef yr amser hwnw, yn nghylch y niwed o lenwi ein pregethau yn ormodol hyd y nod â blodau, y rhai, er mor addurniadol a phoblogaidd oeddent, yn anfynych y cynnwysent lawer o faeth i'r gwrandawwyr; y gallem lefaru pethau hynod nes britho llygaid yn hytrach nâ rhoddi goleuni llesol i'r cynnulleidfäoedd; ac, a defnyddio ei hoff-ddull ef, y dylem ofalu bob amser am ddysglaid neu ddwy dda o fwyd cryf ar y bwrdd, ac yna gallem ei addurno a'r *condiments* a'r *sauces* yn ol ein chwaeth. Hynod ydoedd, fel y gwyddoch, yn ei arferiad o gyffelybiaethau, (Hos. xii, 10). Dywedai wrthyf mai y peth cyntaf yn ei amcan ef, wedi cael syniad newydd, neu feddylddrych o werth, fyddai chwilio am gyffelybiaeth addas i'w drosglwyddo i'w wrandawwyr. Yr oedd ei gyffelybiaethau yn aml yn gartrefol, ond nid un amser yn wael nac yn rhy isel; darostyngai dir a môr, nefoedd a daear, dynion ac anifeiliaid, angylion a chythreuliaid, a phob peth arall, at ei wasanaeth, a hyny yn brydferth ac adeiladol. Fel hyn byddai ei bregethau yn fy amser i yn dryfrith o syniadau gwerthfawr, dywediadau tarawiadol, a chyffelybiaethau tlysion drwyddynt. Ai tybied nas gellid cael cyfrol fechan o honynt,—o'r pregethau, neu o leiaf, lyfryn deuddeg-plyg, yn cynnwys—Gemau Gweinidogaeth y diweddar Barch. Morgan Hywel?

"Bu Mr. Howells yn gymhorth mawr i mi yn nechreu fy ngweinidogaeth, trwy fy nghyfarwyddo at lyfrau defnyddiol. Gwerthai rai o'i lyfrau i mi o serchawgrwydd, a phrynai eiluniau o'r un rhai drachefn iddo ei hun, pan gaffai gyfle; y mae yn fy llyfrgell yn bresenol ddau neu dri o'r cyfryw, a pha rai, erbyn hyn, ni ymadawwn er llawer, gan eu bod yn dangos yma a thraw ôl pwyntel fy hoff gyfaill trengedig, mewn nodiadau neu gyfeiriadau.

"Am natur ei chwaeth, os cyfnewidiodd, nis gwn nemawr neu ddim yn y deunaw mlynedd diweddaf o'i weinidogaeth: ei awduron dewisol yn moreuddydd ei weinidogaeth, y rhai ond odid a adawsant yr argraff ddyfnaf arno drwy ei oes, oeddent Watson, Gurnal, Secker, Clark, Henry, &c.; ond yr oedd wedi myned i hoffi Dr. Owen, braidd yn fwy na'r cwbl, cyn i mi ddyfod oddiyna. Byddai yn hoff iawn o ysgrifeniadau beirniadol. Condemniai rai o bregethwyr mwyaf poblogaidd y Cymry y pryd hwnw, o herwydd eu hamleiriach cywilyddus. Adroddai yn fynych gynghor Rowland Hill i bregethwyr ieuainc, sef cymmeryd pob mater fel eur-afal (*orange*,) ei dori drwy ei ganol, ei ddangos i'r gynnulleidfa am fynydyn, ac yna ei daflu o'r naill du, a chymmeryd mater arall. Craffai Mr. H. yn fanwl ar arwyddion yr amserau, ac, i'r dyben hwnw, darllenai yn awyddus bob newydd-len o fewn ei gyrhaedd; ymollyngai weithiau i ysbryd prophwydoliaeth, a mwy nag ugain mlynedd yn ol soniai lawer am y "*struggle*" ofnadwy oedd i gymmeryd lle cyn y llwyr ddyfethid y bwystfil a'r gau-brophwyd. Gwyliedydd oedd ein brawd, a chanddo sylw ar y nos, (Esa. xxi, 11.) Nid un o'r "gwyliedyddion deillion, na wyddent ddim," ydoedd,—nac un o'r "cwn mudion, heb fedru cyfarth," ychwaith, (Esa. lvi, 10;) ond os dangosai blaidd o Ddeist, Pabydd, Sosin, neu Armin, ei drwyn yn agos i'r gorlan, ceid clywed bloeddiadau effro Morgan yn adseinio creigiau De a Gogledd Cymru.

"Yr wyf yn clywed iddo gael *llawer o dywydd chwerw*, a'i anrhydeddu a pheth erledigaeth drwy y wasg Gymreig, yn ei amser diweddaf; ond y mae y fordaith drosodd, ac nid yw yn lleihau dim ar lawenydd yr ymfudwr tiriedig, fod y fordaith yn arw, wedi y caffo ei draed unwaith ar longborth y porthladd dymunol. Efelly, nid yw cân ysbryd fy hên gyfaill ymadawedig, ddim îs ei chywair o herwydd y cystudd a gafodd; ond wedi cyrhaedd torf y gŷnau gwynion, allan o'r cystudd mawr,—

"Pryd hyn daw holl droion yr yrfa
Yn felus i lanw ein bryd."

"Byddaf yn dysgwyl yn sychedig am eich Cofiant o hono. Ychydig, a braidd dim, a glywais am ei brofiad yn rhydiau yr afon. Llawer gwaith y bloeddiodd yn orfoleddus yn ei iechyd :—

"How can I sink with such a prop?
That holds the world and all things up."

"Hyderaf iddo gael, fel Cristion yr hen Bunyan, gyfeillach "Gobeithiol yn yr afon," ac iddo deimlo'r gwaelod, a'i fod yn galed dan ei draed. Llawer gwaith y torchodd ei lewys i ddangos ei fraich deneu i'r gynnulleidfa, a chrechwenai wrth feddwl am y siomedigaeth a gai y pryfed wrth gydgynnull i wledda arno yn y bedd! Y mae heddyw, o ran ei gorff, yn fwyd i bryfed, yn ymyl Capel Cendl,—da yr wyf yn cofio dydd ei agoriad,—a'i enaid seraphaidd yn nghymmanfa y rhai cyntaf-anedig, yn breswylydd un o'r trigfanau lawer yn nhŷ Tad ein Harglwydd Iesu Grist, a'n Tad ninau. Pwy wyr na chawn gyfarfod yno! "Y mae trugaredd gyda'r Arglwydd." Cawn fyned dros yr hên brofiadau melusion eto, oddigerth y bydd y profiadau wedi cyrhaedd yno mor anfeidrol uwchlaw dim a gawsom yma, fel ag i'w gyru o'r meddwl, fel y mae llewyrch tanbaid yr haul yn dileu llewyrch y lloer, y sêr, a'r planedau. Byddwch wych.

"Ydwyf, at eich gwasanaeth,

"Yn frawdol iawn,

"WM. ROWLANDS."

"*New York, Rhagfyr* 21, 1852."

# GALARGAN, &c.

MORGAN HOWEL! Pwy yn Nghymru
  Na chlybu am yr enw? Pwy
Yn yr enw na chydnebydd
  Ddyn o riniau, fwy na mwy?
Ymherawdwr y gymmanfa,
  Un uwch o'i ysgwydd nâ'r holl lu,
Darfu ei isloerawl yrfa,
  Huna yn y fonwent ddu!

Efe oedd Efengylwr o'r iawn ryw,
Yn rhanu bwyd i'r enaid, ac yn byw
Ei hunan arno. Yn y cudd a'r c'oedd,
I Iesu Grist, gweinidog ffyddlawn oedd.

Pregethai boenau uffern gyda nerth,
Pregethai hedd a hoen y nefoedd ferth:
Taranai fel o groth gehenna gref,
Pryd arall gwenai fel yn ngwydd y nef:
Ymsuddai i ddyfnderoedd anwfn fawr,
Ymgodai ar adenydd dwyfol wawr;
Bygythiai, crefai; gwgai, gwenai'n fwyn,
I alarmu dyn o hun a marwol swyn
Ei bechod, ac i'w osod ar ei draed
Yn effro, a'i edrychiad tua'r GWAED.
O fry gollyngai'r gadwyn euraid gref,
I godi'r gynnulleidfa tua'r nef.
Dros eang gnydfawr feusydd cariad Iôr
Yn fynych rhodiai: edrych ar ystôr
Ac anchwiliadwy olud trefniant gras
Oedd ei hyfrytaf waith. Bu fyw yn fras
(Bywioliaeth angel oedd) ar ddwyfol wledd,
Ac arlwyadau hael Efengyl Hedd.

Teyrn oedd ef yn yr areithfa,
  A'i ddeiliaid, y gwrandawwyr oll;
Pan daranai, crynai'r dyrfa
  Fel pe yn safn pydew coll:
Ei effeithlawn Anathema
  Greai arswyd drwy y fron,
Ond ei adfloedd ber DIANGFA
  A lonyddai arswyd hon.

Wrth gyhoeddi gweinidogaeth
  Damnedigaeth uwch y llu,
Ei seraphaidd ddrychfeddyliau
  Dreiglent fel tân-donau hy;
Nes oedd adamantaidd furiau,
  Cedyrn dyrau uffern gref,
Yn ymysgwyd gan ryferthwy
  Ei athrylith danllyd ef.

Pan gyfeiriai 'i areithyddiaeth
  At gyfundraeth cyflawnhad,
Pwy ddarlunia weithrediadau
  Ein teimladau mewn mwynhad!
Mor gyfoethog mewn profiadau
  Nefol, oedd ei fynwes gun!
Mor feistrolgar y chwareuai
  Ar organau teimlad dyn!

A gorddyfnion ddrychfeddyliau,
  Pwysfawr fel mynyddau 'r byd,
Uchel fel rhodfeydd yr eryr,
  Chwareu wnai â difyr fryd.

Tra y syllai ar ddwyfol-ddull
  Rhyfedd Faban Bethlehem,
Gwenai 'r Awen yn ei arddull,
  Fflamiai 'r seraph yn ei drem.

Braidd na thybiem, wrth ei wrando,
  Fod rhyw Gerub mawr tu cefn,
Yn dadlenu 'n ffyddlawn iddo
  Ryfeddodau 'r drudfawr drefn,
Gan dywallt cefnllif o feddyliau
  I'w fynwes o ffynonau nef,
Yntau wedi 'n yn ei arllwys
  Ar ein traws yn afon gref.

Safai beunydd fel rhyfelwr,
  A phencampwr ar y mur,
Gan amddiffyn athrawiaethau
  A chyfreithiau Sion bur;
Pan f'ai perygl, gwaeddai 'n uchel
  "Ymarfogwch, weision Iôr!
Gwelwch satan ar y rhagfur,
  Gwelwch uffern wrth y ddor!"

Arddangosai 'r Groes ogoned,
  Megis sail a baner Hedd,
A'r "grawnsypiau mawrion addfed
  Hongiant arni" 'n ddefnydd gwledd;
Gwledd o basgedigion breision,
  A phuredig loew win,
Gwledd ddigonol i anghenion
  Nef a daear, Duw a dyn.

Yn y Groes y cafodd fywyd,
  Wrth y Groes y mynodd fyw,
Hi oedd unig nod ei ymffrost,
  Unig sail ei obaith gwiw:
Ei fawreddog ddrychfeddyliau,—
  Anghymharol berlau'r oes,—
Dreiglent oll fel dysglaer rodau
  Amgylch ogylch Haul y Groes.

Pen Calfaria! dyma gartref
  Ei fyfyrdod trwy ei oes,
Yma gwleddai ar yr aberth,
  Yma syllai ar y groes;
Gan frwdfrydedd ei feddyliau,
  Hawdd oedd d'wedyd yn ddi len
Iddo dreulio ei flynyddau
  Ar y mynydd, wrth y pren.

Ei gorff yn unig drengodd. Mae ei glod
Yn fyw, ac, fel ei enaid, bydd mewn bod,
Cof, a thragwyddol rwysg edmygedd arch
Tra chrefydd a theilyngdod pur mewn parch.

Nid delw farw ga ddynodi 'r fan
Lle tawel huna ei ddaearol ran,
Ond anfarwolion wylant nos a dydd
Gylch-ogylch ei orweddfa dywell, brudd,
A dagrau 'n gwlawio dros eu hathrist wedd
A feddalhant ei fyth-rewedig fedd!

ISLWYN.

CAERDYDD: ARGRAFFWYD GAN W. OWEN.